6

# DETHOLIAD

O'R

# CYFANSODDIADAU BUDDUGOL

YN

# EISTEDDFOD LLANELLI,

GORPH. 29, 1856,

YNGHYD A'R

## HOLL FEIRNIADAETH ARNYNT.

---

LLANELLI:

ARGRAFFWYD GAN JOHN THOMAS, HEOL-Y-DWFR.

1857.

I

# DAVID MORRIS, YSW., A. S.,

**Llywydd yr Eisteddfod,**

A

NODDWR POB SEFYDLIAD GWLADGAROL
A RHINWEDDOL,

Y CYFLWYNIR Y GYFROL HON,

GYDA PHARCH DIFFUANT,

GAN EI UFYDDAF WASANAETHWYR,

Y PWYLLGOR.

# ANERCHIAD.

Gymry myg,—Meddyliodd y Pwyllgor unwaith gyhoeddi holl gyfansoddiadau buddugol yr Eisteddfod hon yn un gyfrol; ond gan fod llawer o hônynt mor feithion, ynghyd yn gwneyd i fynu gyfrol fawr ac uchelbris, gorfodwyd hwynt i roddi y bwriad heibio, o herwydd mawredd ac ansicrwydd yr anturiaeth.

Wedi i aelodau y Pwyllgor, ar ol edrych ar y pwnc yn ei wahanol agweddau, ddyfod i'r penderfyniad i beidio argraffu ond Detholiad yn unig o'r darnau gwobrwyol, rhoddasant ganiatâd i *Epenetus* gyhoeddi ei draethawd campus ar "Ogoniant y Grefydd Gristionogol," ac y mae yn ddywenydd ganddynt ddeall ei fod yn cael derbyniad helaeth gan eu cyd-genedl, ac yn debyg o fod o les mawr i'r ieuenctyd darllengar.

Nid yw y Pwyllgor am wneuthur achos *Epenetus* yn eithriad i unryw reol, ond parod ydynt i ddychwelyd i'w hawdwyr y traethodau buddugol ereill, nad ydynt yn argraffedig yn y "Detholiad," ond iddynt anfon am danynt, gyda thraul y cludiad, a sicrhau y cyhoeddir hwynt mewn rhyw ffurf neu gilydd yn ystod y deuddeg mis nesaf; os amgen, gofala y Pwyllgor am iddynt gael eu hargraffu yn ystod y flwyddyn 1858, yn un neu ddau o brif Gylchgronau y Dywysogaeth.

Ymgais at amrywiaeth a dyddordeb oedd y rheol yn ol pa un y gwnaed y "Detholiad" o'r cyfansoddiadau cynwysedig yn y gyfrol hon; i ba raddau y llwyddwyd yn hyny, a ganfyddir oddiwrth y derbyniad a roddir i'r llyfr.

Dymuna y Pwyllgor gyflwyno eu diolchgarwch gwresog a diffuant i bob un a'u cynorthwyodd mewn unrhyw fodd, i wneuthur Eisteddfod Llanelli yr hyn y cyfaddefir yn gyffredin ei bod---sef cynllun i Eisteddfodau dyfodol Cymru.

DROS Y PWYGOR,

J. R. M.

---

# DISTRIBUTION OF PRIZES

AT THE

# LLANELLY EISTEDDFOD,

## ON TUESDAY, JULY 29th, 1856.

---

The Chair was taken at eleven o'clock by D. Morris, Esq., M.P., when a preliminary address was delivered by the Rev. J. R. Morgan, *(Lleurwg,)* and a prologue, written by J. Cameron, Esq, Spitty, in his absence, was read by Mr. Titus Lewis, Carmarthen, after which poetical addresses were recited by Mr. W. Morris, Swansea; *Gwilym Teilo, Gwilym Mai, Ifor Cwmgwys;* and *Nathan Dyfed*; followed by an address, in English, by the Rev. Dr. James, Marsden, Yorkshire, and another in Welsh, by the Rev. R. Ellis, Sirhowy.

A Solo on the Harp, by Mr. Ellis Roberts, preceded the following adjudication of Prizes:—An English Essay on the "Progress of the Arts and Sciences," was awarded to Rev. D. Griffiths, Bethel, Carnarvon; Welsh Essay on "Logic," to the Rev. J. Jones, *(Mathetes)*; Welsh Song on the "Introduction of Railways into Wales," to Mr. W. Davies, *(Teilo)*; Welsh Stanzas on "Ivoritism," to *Lleurwg*; Song on the "Fall of the leaves," to *Ifor Cwm Gwys*; an essay on "the duty of the working classes to acquire knowledge," to Mr. E. Jones, Dolgellau; a Welsh essay on the "Advantages of Industry and Economy to the Working Classes," to Mr. D Griffiths, Holywell; Essay on the "necessity of cultivating the human mind," to Mr. G. Jones, Llanelly; stanzas "To the Moon," to *Lleurwg*; and a song to "Messrs. Phillips, Smith and Co.'s Tin Works," to *Gwilym Mai;* song on the "Sunrise on the Burry," was awarded to Mr. G. Jones; the Rev. E. Roberts obtained the first prize for the Welsh Essay on "The Advantages derived by the country in general from Foreign commerce," the second prize being awarded to *Garnddyrysyn*, and the Rev. Ellis Hughes, Penmain, the first prize for an Essay on the "Glory of Christianity;" second prize to Rev. E. Jones, Ynysgau; while the English and Welsh "History of Llanelly" was divided between the two competitors, Rev. J. Jones, *(Mathetes)* and Mr. David Bowen, Llanelly.

Ellis Roberts, Esq., varied the proceedings of the meeting by performing the beautiful Harp Solo, "Per Oslef," as introduced at Her Majesty's First Concert of the Season, April 21st.

The award of prizes being resumed, that for the "Elegy on the death of R. J. Nevill, Esq.," was divided between Mr. Titus Lewis and Mr. D. Davies; and the poem on "Elijah on Carmel,"

was obtained by Miss M. Davies; the Rev. D. Henry produced the best collection of "Puns, Tales, and Proverbs," and the Rev. W. Hughes, Bethel, received the prize for the best translation of "The Philosophy of Happiness." The Morning meeting closed with the award of the prize to Mr. Ellis Roberts, *(Ellis Wyn o Wyrfai)* for his sublime ode on the "Sabbath."

The Afternoon Meeting was inaugurated with a Welsh address by the Rev. Dr. James, and one in English by the Rev. Dr. Lloyd, Carmarthen, followed by a performance on the Harp, after which the following prizes were awarded ; to Mr. D. Richards, for the Welsh elegy on the "Death of the Rev. J. Bowen;" to the Rev. T. B. Morris for a Welsh elegy on the "Death of the Rev. James Spencer;" to *Lleurwg*, for a Welsh elegy on the "Death of the Rev. David Bowen," for the "History of Velin Vole," to Mr. W. George; and for the "History of the Ivorite Unity," to *Dyfrig*. Mr. D. Bowen was awarded the prize for a song to the Llangennech Coal Company ;" and Mr. J. Griffiths, for a song to the "River Morlais;" Welsh and English songs to "D. and A. Watney, Esqs." were gained by *Gwilym Mai;* Mr. S. Evans, *Cilcarw*, obtained the prize for the "History of Pontyberem," and that for the "History of Llandilo Talybont," was adjudged to *Hanesydd*, John Williams, Shoemaker.

A Descriptive Piece on the Harp elicited universal approbation.

After which Mr. T. Jones, Portmadock, was declared the successful competitor for a Welsh Song on the "Happy Family;" and *Gwilym Mai* for a song to the "Pontyberem Coal;" a song on the "Fall of Goliath," was awarded to Mr. J. R. Jones; and an essay on "The Utility of Cultivating the Welsh Language" was awarded to Mr. Thomas Edwards; the prize for a song on the "Departure of W. Chambers, Esq., and Family," was divided between the Rev. J. Thomas and Mr. David Bowen; and that for the "History of King Lles ap Coel," was gained by the Rev. David Henry, Maesteg, which closed the afternoon meeting, there being several competitors in Music.

The Evening Meeting was addressed by the Rev. J. James, Clifton, in English, and Mr. Evan Evans, Swansea, in Welsh, and "Penillion," according to ancient custom, with Harp accompaniment preceded the distribution of the remaining prizes, viz.—a prize for a Welsh Psalm Tune was awarded by E. Davies, Esq., M.A., the adjudicator of the music, to Mr. John Bowen, Church Street, Llanelly; a Welsh translation of the "French National Song," to Mr. D. Bowen, and a Welsh translation of the "Elegy on the Death of Sir John Moore," to Mr. George Morris, Holywell, and the Llanelly Choirs competed on "Awn yn Llon." The singing of the National Anthem terminated one of the most successful meetings ever held in South Wales.

# AWDL AR Y SABBATH.

GAN MR. ELLIS ROBERTS, FFESTINIOG,

*(Ellis Wyn o Wyrfai.)*

"Cofia y dydd Sabbath, i'w sancteiddio ef," &c. Ecs. 20, 8.

"Cedwch fy Sabbathau, a pherchwch fy nghyssegr: yr Arglwydd ydwyf fi." Lef. 19, 30.

"Chwe diwrnod y gwneir gwaith; a'r seithfed dydd y bydd Sabbath gorphwysdra, sef cymmanfa sanctaidd; dim gwaith nis gwnewch: Sabbath yw efe i'r Arglwydd yn eich holl drigfanau." Lef. 23, 3.

"Chwe diwrnod y gwnai dy waith; ac ar y seithfed dydd y gorphwysi, fel y caffo dy ych a'th asyn lonyddwch, ac y cymmero mab dy forwyn gaeth, a'r dyeithr-ddyn, ei anadl ato." Ecs. 23, 12.

"O throi dy droed oddiwrth y Sabbath, heb wneuthur dy ewyllys ar fy nydd sanctaidd; a galw y Sabbath yn hyfrydwch; sanct yr Arglwydd yn ogoneddus; a'i anrhydeddu ef, heb wneuthur dy ewyllys dy hun, na dywedyd dy eiriau dy hun," &c. Esa. 58, 13, 14.

Y Sabbath—dedwydd seibiant—i'r enaid
Ro'i unol addoliant;
A'i fawl o blith nefol blant
I'w Dduw gwyn, dda ogoniant.

Dydd yw a bennododd Ion,
O'i ddaioni, i ddynion,
I orphwys o bwys y byd,
A'i hen ofal blin hefyd,
A rhoi y galon ddirgelaf
Weithian i waith y Naf.

Daw y rhywiog, dêr, huan
I'r wybr glir y boreu glân,
Dwg wawr a diwyg eurwedd,
Yn fywyd i *fyd* o *hedd.*
Darfu o gylch holl dwrf gwaith,
Fe erys pob llafurwaith ;
A dystaw yw, nid oes stwr
O gerdd chwibanog arddwr.
Ei ddodrefn heddyw—edrych—
Yr ôg, a'r rhaw, ar y gwrych,
" A'r aradr ar ei orwedd "
A geir yn wag yr un wedd.
A chwery y march iraidd,
Rhed o gylch â brydiog aidd,
Tra heddyw at ei ryddid
Rhoddwyd ef yn rhydd o'i did.
Ië'r asyn digroesaw
Y sydd yn llonydd gerllaw,
Heb na phwn, na lleben ffol,
Yn ei faeddu'n anfuddiol.
A dir bod yr adar bach
Boreu heddyw'n bereiddiach
Eu mwyn gerdd, a'u hemyn gu,
Heb dwrf yn eu gwib darfu.
Melus gân aml lais y gôg,
A sî yr awel sy rywiog,
Hynod eglur i'n dwyglust,
Rhywiog leddf yw ar y glust.

O mor luosog yw amryw leisiau
Mwyn odlau anian o'u mân delynau ;
Heddyw eu swynol *ëolaidd* seiniau,
Yrr ar adenydd yr awyr dònau
Yn beraidd fawl y borau—i lys Ion,
Cyn egyr dynion un cainc ar dànau.

Ust ! yna—dost awenydd !
Pa ryw swn mwy per y sydd
Mor groew 'n mrig yr awel ?
Daw i'n mysg o dànau mel.

Dyma ganiad amgenach
Yn esgyn o'r bwthyn bach.
Duwiol awen deuluaidd
Yn fyw drwy y nef a draidd,
Nes dyfod i lys Dofydd,
Yn arogl-darth per gwawl dydd.
Y' llafurwr llaw-forau
Tra'n ei chwys yn trin a chau,
O galed waith bwygilydd
Yn nychu dan y "chwe dydd,"
Rhyw gwr oer dan war y gwrych
Yw y fan, yn rhy fynych,
Hyd yma ca'dd ei damaid
Yn dra llwm mewn dw'r a llaid.
Yn awr y' mysg ei rai mân,
Yn ei anedd ei hunan,
Fe rydd ei forau weddi,
A'i fawl rhwydd i'w nefol Ri.

Ar ei aelwyd reolaidd—ei gu wraig,
A rhyw wên angylaidd,
A weinydda yn weddaidd,
Y borau fwyd o ber faidd.

Un ddull 'nol ymddiwallu,—i'w gwr daw
A'r gair doeth gan wenu,
Egyr hwn ef, dan grynu,
A derllyn lân gyfran gu.

Trwy arswyd at yr orsedd
Ymnesânt yn mynwes hedd ;
Ar Dduw gras y rhydd ei gri,
A'i ddiaddurn dda weddi ;
Gweddi hwn yw gwaedd enaid
Fynu i'r nef yn rhoi naid.

A dyma yr hyfryd emyn,—o enau
Babanod yn esgyn ;
Mawl y teulu mal telyn,
Yn ddi-dòr, o anedd dyn.

A miwsig mwy ëosaidd
Y nes drwy y fuches draidd.

Fry, yna, y forwynig,
Egyr hon o gwr y wîg,
Nid oer swn hen fydrau serch
Cwynfanus; cân y wenferch
Emyn deg yn min y dydd
Yn foliant anhefelydd.

Ond wele wyneb yr ardal lonydd,
Yn llawn o ddynion mewn llon ddywenydd,
Wedi ymhulio ar hyd y moelydd;
Llwybrau y bryniau oll heibio'r bronydd,
Hyd i waelod y dolydd—mewn hardd-foes
Yn eu treigl eisioes tua'r eglwysydd.

Pa olwg i'r capelydd!
Yn neshau yn hoewon sydd!

Eu gwisgoedd addas a'u gosgedd weddaidd,
Rhai yn cario y rhai ieuainc iraidd;
Y dyn gwledig o dan ei hug wladaidd,
Yntau yn arwain ei blant tyneraidd;
O! gain olwg anwylaidd,—trwy holl gred
Ni fu i'w weled un mwy nefolaidd.

Yn awr o'i dŷ 'r hen wr dall,
Ddaw a'i orwyr ffordd arall,
Heddyw aiff ar ei ddwyffon
Yn llesg, a'r bachgenyn llon,
Yn dawel yn ei dywys,
A'i law fach yn dal ei fys;
I dŷ Dduw mor ddedwydd ânt,
Duw yno a adwaenant.

Yna y weddw annyddan,
Ar y llwybr yn "nghladdfa'r Llan,"
Sy'n wylo wrth basio bedd
Main ei gwr, man y gorwedd.

Yn wir o fewn y dorf yna—nid oes
Un dyn na all goffa
Ryw wyddfaen neu orweddfa,
Annedd un adwaenai'n dda;

Neu ryw anwyl berthynas,
Yn oer lwch y ddaear las :
Ië, hanodd ei hunan
O'r llwch sydd yn "nghladdfa'r Llan."

Tra i mewn, trwy amynedd,
Yn ben noeth, a phawb un wedd,
I'r adail gysegredig,
Uniawn drefn yn hon a drig ;
Y mae rhywbeth mor hybarch
O fewn ei phyrth, ofn a pharch.
Fe eistedd y dorf astud,
Yn y]fan yn ddystaw fud,
Nes uno yn ngwasanaeth
Hoff yr Ion, a' genau ffraeth.

Yn ei wisg gàn esgyna—duwiol wr
Hyd y lân ddarllenfa ;
A llafar doeth y "Llyfr Da,"
O'r lle hwn a ddarllena.

Ei weddi riniol dawdd yr enaid,—daw
A deigr i bob llygaid ;
Dyrch yna, drwy ochenaid,
Ar Dduw byw, yn daer, ddibaid.

Dyfyn o Gerddi Dafydd—a eilir
Mewn alaw ysplenydd ;
Y waith hon genau a thant
Yno luniant lawenydd.

Y molawd unol a ymledaena
Yn bereiddfwyn heibio i orweddfa
Y claf unig ; clyw ef yna—y mawl,
A hynod swynawl i'w enaid seinia.

Yn wylaidd ar ei benelin—cyfyd
Cofia'i Dduw a'i Frenin,
Y nefol lais, yn felyswin,
A wywa bla ei waew blin.

Heb ing yn ngwyneb angau—na gofid
O'i gyfyng flinderau;
Mwy anwyl mae ei wenau,
Yn ymyl hedd, yn amlhau.

Ba waith yna? Beth, awenydd—yw gwraidd
A grym ei lawenydd?
Gwir afael mewn *iawn* grefydd,
A fynodd ef yn ei ddydd.

Hon heddyw sy'n ei addef,
Nesâu wna i deyrnas nef;
A'r Iesu yw ei drysor,
A'i nodded ef yn ddi-dor.

Darfu melys dwrf moliant
Emynau dyn, a mwyn dant.

Cawn nodi'r cu weinidog—yn addas
Gyhoeddi i'r euog,
Werth a grym aberth y *Grog*,
Trwy y gwir Dduw trugarog

Try enyd at yr annuw
A geiriau deddf dreiddgar Duw.

Hon ddengys iddo'i angen—ei waeledd
A'i olaf dynghedfen;
Egyr byrth gwae ar ei ben,
Amodau codwm Eden.

Tery doniau trydanol—ei wefus
Yr ofer annuwiol,
Nes y tŷr yn ystyriol
O hen ffyrdd ei wyniau ffol:

Daw â'r ieuanc dirëol
O'i bell nwyf i'w bwyll yn ol,
Lle gwel y ddrylliog galon
Neu fawr fraw'n cynhyrfu'r fron.

Egyr enau gwirionedd,—fe yngan
Efengyl tangnefedd,
A llais hoff yn arllwys hedd
I galon friw'n ymgeledd.

Y weddw wan, anniddan nod,
Dyn o'i braw; Duw yn briod
Deimla hon; daw mêl o hyd
I'w chalon ddifrycheulyd;
Addefa yr ymddifad
Ef yn dwr, ac addfwyn dad.

Ond dymunol etto'm awenydd
Rhoi cip olwg drwy y capelydd;
O fewn y rhai'n un sain sydd,—clodfori
Ac addoli, mewn agwedd eilydd.

Henuriad, o deimlad dwys,
A ddwg emyn dda gymmwys;
Hon i fiwsig hen fesur
A gân pawb â genau pur.

Soniarus seiniau hirion—arweiniant
Yr enaid a'r galon;
Ac o'r wefus gwir afon
Fywiol red o fawl i'r Ion.

Ar ol melys hir eilio y moliant,
Canu, ail ganu ceiniol ogoniant,
Y lluaws dyddan oll a eisteddant;
Y gwr hen a duwiol gu wrandawant,
Tra egyr 'fe trwy gywir fant—ryfedd
Air y Gwirionedd, llawer a grynant.
Ei wefryddol "ddifyfyr weddi,"
Rydd o'i galon ar Dduw ei Geli;
Ei ddagrau ef, ei waedd a'i gri,—a dyn
Gâd i'w ddilyn i gyd-addoli.

Un o ddoniau haeddianol,—a'i barabl
Yn beraidd, a denol,
Yn ddirwysg, ddaw ar ei ol,
I anerch y dorf unol.

O'r DWYFOL AIR y dyfyn—un frawddeg
Fèr iddo yn destyn ;
Yna hoff esponia hyn,
I'w braidd oll, yn ber, ddillyn.

Ei ymadroddion llym, dreiddiol,—wana
Enaid yr annuwiol ;
A difera edifeiriol—ddagrau
Ar hyd ei ruddiau yn ffrwd raddol.

Ië, tery'r gwatwarwr
Yn fud, wael, fal ynfyd wr.
Llawer syth gellweirus wr
Yno ddaw yn weddïwr.

Taraniad hir ei enau—ysgydwa
Gysgedig feddyliau,
Ac ail enyn galonau
Y lluaws oll i'w lleshau.

Wele o gylch ddymunol agwedd,
A gwawr hygar y gwyr a'r gwragedd;
Henaint ac ieuaint unwedd—yn gwrando,
'N gywir yno Air y Gwirionedd.
Wele'r mwyn löwyr mad—un lliw a llin
Yn y twr iesin, yn lân eu trwsiad.
Trwy y "chwe diwrnod," dan orfod hirfaith
Grym golidiog eu mawr galed-waith,
'Roedd y llu 'n nyfnderoedd llaith—tywyll-fro
Na welir yno haul IOR unwaith.
Hwnt yn rhyw ogof, tynu a rhwygo,
Y naill yn gorwedd, a'r llall yn gwyro ;
Rhai'n ewyllysgar arwain a llusgo,
Hyd y gwaelodion, a diwyd gludo,
Ac eraill draw yn cario—trwy y cylch
O ffauau ogylch, bron a diffygio.
Draw o'i gwr wedyn, drwy agoriadau,
Y glo o ganol ei gul agenau,
Tan bwys a godant yn y basgedau ;
Yna'i ail hebrwng drwy geimion lwybrau ;
Ac awyr bwg, oer, y bau,—yn llwyr hadl
Fferu eu hanadl, braidd yn eu ffroenau.

Yn y main lwybr, yn mhell
Ar adwyau'r fro dywell,
Bachgenyn, bach ac unig,
O fewn y drom fan a drig
Yn wylaidd iawn; gwylia ddôr,
I'w hegwan gau a'i hagor,
Er dal yn ol yr hadl nwy,
A'i droi ymaith o'i dramwy.
Hir yfed awyr afiach,
Yno bu, y truan bach,
Heb gael, o Sul bwy gilydd,
Weled haul na goleu dydd.

Yna, Anffyddiwr anhoff ei weddi,
Tro dy olygon, trwy dy wael wegi,
Onid ordeiniad Duw er daioni
Ydyw y Sabbath? paham deisebi?
Ynfydyn, i ddifodi—*dydd y gwan*,
Yn dy dd'rogan—onid hwn ddrygi?

Y dydd hwn dydd sanctaidd yw,
Tal dedwydd y tlawd ydyw,
Ad-daliad y tlawd eilwaith
Yw rhoi hwn i'w Iör a'i waith.

Rhydd heddyw hardd wahoddiad—i'r glöwyr
Glewion o'u carchariad;
Hoff arwain o'r ffau irad,
I awyr glir, a llawr gwlad.

Yn eu gwydd hoff iawn yw gwên,
A goleu y deg heulwen;
A glas wybren glws Ebrill,
Daear a'u man dyrau mill;
Lluaws glwys y llysiau glân
Drwyddi oll a draidd allan;
Y cain frialli cynar
Yn lledu uwch y llwyd âr;
Y lliw asur grinllysen,*
Ger y ffordd yn gwyro'i phen,

* Violet.

Gyda dail llygaid y dydd
Wedi hulio y dolydd.
Yn llun a gwedd meillion gant
Duw anian a adwaenant,
Hwy dd'wedant, " nefoedd ydyw
Daear werdd," gan mor der yw.

Fel Enias 'nol aflonydd
Ddwyn ystorm ddu nos a dydd,
Y'ngwrth dig engyrth y don,
O dan ofwy llid Neifion ;
Pan ydoedd mewn poen wedi
Ymroi dan ei mawr wyd hi,
Gyrodd Iof i gu ryddhau
Ei lynges o law angau ;
Y rhychiog wynt, o'i gyrch gau,
A dynodd i'w gadwynau ;
Y du lif yn dawel âi,
A'i las wyneb dlws wenai,
Yn awyron hin araul,
O dan deg dywyniad haul.
Y llongau yn un llynges
Hwnt, yn eu rhawd aent yn rhes,
A'u canaid hwyliau ceinion,
Ar led yn yr awel lon.
Yn y fyg olygfa hon,
Byw lonai'r morwyr blinion ;
Diolchent i'w Duw eilchwyl,
Yn frwd iawn, mewn hyfryd hwyl ;
Anghofient ing eu hafar,
A rhwyf hyll y môr a'i far.
Y gweithwyr diddig hwythau,
Unwedd oll, 'nol eu rhyddhau
Am enyd, o'u dybryd waith,
I olwg daear eilwaith,
Eu diolwch a dalant,
I Dduw nef, a'i foddio wnant.
Y dduwisg eisioes ddiosgasant;
Yn nheml ein Iesu ymlanhasant ;

A da weithion y daethant—a threfnus,
I'w byrth â melus aberth moliant.

A dyma'r briod emyn,
A wna i'r dorf y pryd hyn
Ymwahanu'n ddymunawl,
Ac yn eu mysg gân a mawl.
O addurnol wiw ddiwrnawd
Teulu hoff y gweithiwr tlawd;
I hwn a'i blant, Jubilee
Eu rhyddid a'u hawr weddi.
Ei eiddo oll heddyw ddaw
I'w gynil iachus giniaw;
Gwelwch bawb o gylch y bwrdd,
Dedwydd ydynt a didwrdd.
Yr hynaf frodyr anwyl,
A'u hardd, gu chwiorydd gwyl
A chwalwyd i'w gorchwylion,
Led y wlad o'u haelwyd lon.
Ow! ni cheid yn y "chwe dydd"
Eu gweled gyda'u gilydd.
Y rhieni olrheiniant,
Yn eu gwedd nodweddion gant.
Adwaena y tad dinam
Y lân ferch ar lun y fam;
Y fam hoff wna fwy o'i mhab,
A chenfydd hon ei chynfab,
Yn ei ystum yn wastad,
A'i lawn dwf ar lun ei dad.
'E drydd eu hymadroddion—
Chwydda uwch y fuchedd hon.

Attolwg y penteulu—ei rai bach
Ar eu bod wrth dyfu,
Yn byw i agos debygu
I'w nefol Dad mewn cariad cu.

Hyfforddia hwynt yn ffordd dda
Y duwiol Obadiah;
Troi'n ieuainc trwy iawn awydd—
Mawrhau Duw yn moreu'u dydd.

Ac Ioseph enwog esyd
Ger eu bron a dengar bryd.

Hir erys ar eirwiredd—ei wefus,
Ei ofal a'i rinwedd,
A'i gain ostyngedig wedd,
Yn nhir hudol anrhydedd.

Ond rhedodd hyd yr adeg,
Darparu mae'r teulu teg,
I'r ysgol Sabbathol bur,
Lle cawsant oll eu cysur.
Awn yno, awen, enyd,
Deall gawn ei ddull i gyd.
Llyna'r henwr llawn rhinwedd,
A'i wyn wallt, yn wan ei wedd;
Athraw unol "Llyth'reniaeth"
Y "Llyfr Corn;" mewn llafur caeth
Hoffa hirddwys hyfforddi
Ei rai bach yn yr A, B.

Uwch yr egin chwareugar—onid yw
Yn dad amyneddgar?
Er eu hadwrdd a'u trydar,
Ni rydd sen, neu gerydd sar.

O blina ei bobl weinion—ar y sech
Unryw sain yn gyson,
Edrydd, â lleferydd llon,
I'w hadloni chwedl union,

Am yr eirth a fu mor wyrthiol—yn lladd
Llu o blant anfoesol;
Malurio haid am alw ar ol
Gwr oedd dda a gwir dduwiol.

Arhola yn fyr eilwaith
Ar gylch, i amrywio gwaith,
Ymawyddu eu meddwl,
Fel nad ânt yn flin na dwl.

Egnïo y'mlaen ddeugain mlynedd—bu,
Heb ball i'w amynedd,
I ddwyn y mân'wyn mewn hedd,
A'u hir anog i rinwedd.

Parth arall, pur a thirion,
Sy'n sillebu yn llu llon ;
Yna y lleill, yn fwy llên,
Ddaw i hirllaes sill-ddarllen.

Mae ereill o'r llwm eiriau—yn awr yn
Yr hoff Destamentau,
A'u gallu o hyd yn gwellhau
I'r hen bobl draw'n eu Biblau.

Y lle ogylch y llygaid
Yn byw ddygyfor heb baid,
A llawn o swn darllen sydd
O'i naill ben i'r llall beunydd.

Henffych wiw Sabbath, di-fath dy foethau,
Yn maethu'r enaid yn mhob maith riniau;
Hwyluso, a darwain cyfleusderau,
I ni gael agor ein mân golegau,
A rhanu addysg yn Ngwirioneddau,
A gwiw raith arab yr Ysgrythyrau;
Y llaw-weithwyr a'u llwythau—y'nt ddiwyd
'Nawr â'u holl efryd yn "*Llyfr y Llyfrau.*"

Od yw'n tylodion dan attaliadau
I geisio addysg, ac enwog swyddau,
Hwy a foesolir yn fwy y Suliau,
Yn rhai'n awyddus i bob rhinweddau;
Gair Duw ei hunan egyr eu doniau,
A hwn a'u darwain i bob iawnderau;
Ei arabaidd wirebau—a gofiant
Pa rai gu lynant mewn pur galonau.

Onis gwelir prawf drwy'n hysgolion
O gywrain ddoniau ein gwerin ddynion ;
Ymroddi yn addysg mawr dduwinyddion,
Ië, taer gyraedd at eu rhagorion;

A chwilio uchelion—gwybodaeth
Er adeiladaeth, mae'n gwâr dylodion.

Yma etto rhaid ymattal,
Y nos sy'n dod yn nes i'n dal;
Awn ar ol y dyner hwyr,
I ddilyn yr addolwyr.

Mawl Duw a ledodd yn aml adeiladau,
Trigleoedd daear, trwy ogledd a dehau,
A newydd wledydd mewn addoliadau,
Yn barhaus unant yn ber eu seiniau ;
Ië'r hen *eigion*, ar ei wanegau,
Yn awr a'i arwain i'w bell ororau,
Lle yngan rhai mewn llongau—ei foliant,
A hyf ddywedant ei ryfeddodau.

Hirllaes iawn ydyw'r lleisiau unedig,
Yn hir ymaros yn yr Amerig ;
Rhai o ber dànau y *rhyw Brydeinig*,
Wna ei wefreiddio yn wir fawreddig ;
Nes offrwm hen weis Affrig—aberthau
Eu hael ganiadau—hil ogonedig.

Duw mawr y Sabbath dymor ei seibiant,
Yn y tew ddeilwydd hwnt a addolant ;
Rhydd o'u cadwynau hardd y cydunant,
A genau melus i ganu moliant :
Pa ryfedd pan y profant—ddedwyddwch
Un dydd o heddwch a da ddyhuddiant?

Yno y gwelir y truain gwaelion
Heddyw i raddau'n deuluoedd rhyddion,
O *dra* eu meistriaid, o rwymau estron,
Ac o reolaeth eu gyrwyr creulon,
A chaled, drwm orchwylion—y "chwe dydd,"
A thra-mawr gerydd gorthrymwyr geirwon.

Acw rhwyga drwy'r Mynyddoedd Creigiog,
Töa eilwaith y Môr Tawelog,
O oer riwiau eiräog—Tierra
I lanau Asia, le ynysog.

Y mawl hynodawl y'mlaen eheda,
O ynys i ynys 'n un hosanna,
Myg y dilynodd hyd Magdalena,
Etto ëangodd i Raratonga,
Yna o hyd yn un ha ! ha ! !—hirfaith,
Nes tery eilwaith lanau Awstralia.
Hyd y *zenith* adseinia—llawen floedd,
Dirif ynysoedd, hyd derfyn Asia.
Heibio i oerion fryniau Siberia,
Trwy y tiroedd etto i Tartaria,
A thrwy y canol o lethrau Cina,
Gyda'r hy' wendon a godrau India,
Heddyw'n dwyn newyddion da,—adwaenir,
Ac yno seinir y gân hosanna,
Ail oian ! haleluia—'r un adeg,
Fry wna ehedeg o fryniau Juda ! !

Ymdònia yn myd enyd
Un adsain yn gain i gyd,
A bywiog lef o bob gwlad
Arddela WIR addoliad.
Olwyniad yr wyl lanwaith
Aeth o gylch pob llwyth ac iaith,
A'u miloedd yn ymweled
A'i dwyfol ragorol ged.

O'r fath fraint yw i'r fath fro
Fo'n ei haddas ddefnyddio.
Dydd o hedd a dedwyddhad,
A hoffusawl orphwysiad,
Yn rhoi galwad i'r gwaelaf
I fewn i gymmanfa NAF.
Y llwythau, a'r holl ieithoedd,
Oll un flas, a llawen floedd,
Yn dedwydd ddweyd, "I dŷ Dduw
"Esgynwn, o fysg annuw,
"I fynydd ei drigfanau,
"Yn Seion byrth iesin bau;
"Y fan dda a fynodd EF
"I'w weinyddion ei addef,

"A'i arddel yn ei urddas,
"Yn Dwr, gwir roddwr pob gras."
Hir ddilyn mae'r addolwyr,
Ei deulu Ef, duwiol wyr,
A mawr frys o amryw fro,
A'u gwyneb tuag yno;
Heibio llifa meib llafur,
Yn aml o bell i'w deml bur.

Ymwthia yr amaethydd--gyda hwy,
Gedy ei holl faesydd;
A'r hoff gyflogwas yn rhydd,
'Nawr a'i dilyn o'r dolydd.

Y dwys fasnachwr sy'n d'od
O'i daer ofal a'i drafod,
I gadw gwyl, gedy gaeth
Drefniadau ei drafnidaeth.
Y crefftwr a'r celfyddwr fu
Yn wan eu hiechyd yn nychu,
Yn awyr fwll y dref fawr,
Nes dyddfu yn gystuddfawr,
Adawant y fwrn duedd,
I fýnu awr o fwyn hedd,
I ddilyn eu haddoliad
Yn rhyw le yn nghwr y wlad.
Iraidd wyneb hardd anian
Yn llawn mill; y llwyni mân
Yn oroïan eu rhywiog
Gerddi glân dan eu gwyrdd glôg;
A'r awelon siriolaf
Oddiar heirdd erddi hâf,
Yn chwalu a dychwelyd
Arogl hoff ar dreigl o hyd,
A'u llanwant â llawenydd,
A rhad ddiolchgarwch rhydd;
A brysiant i lân breswyl
Enw'r Ion, i uno'r wyl;
Swynawl fydd eu mawl yn mysg
Y dda dyrfa ddiderfysg.

Er nad yw yr hynod Ion
Ail dinerth ddelwau dynion,
Ac yn ei ddull gwn na ddaw
I adeilad gwaith dwylaw,
Pyrth y nef i'n parthau ni,
Teg gyhoeddwyd tai gweddi.

Yma yn wir y mŷn Ef
Ei gyhoeddus gu addef,
Dyna'i drefn: os dau neu dri,
Yn awyddus i weddi,
Yn Enw Hwn a unant,
Yno ei gu gwmni gânt,
Ei addewid yn ddiau
A wiria hyn i barhau.
A'r Sabbath roes byth i raid
Ei addolwyr a'i ddeiliaid;
Eu cysegr-wyl anwyl yw,
Adeg ymgynnull ydyw,
Yn fywiog gymanfaoedd,
I gyd-addoli yn g'oedd.
Yno mae Duw yn eu mysg
Yn rhoddi pob rhyw addysg;
Meithrina, maetha'r enaid,
A nerth rydd i wan wrth raid;
Yn wir ni phalla i neb
Ddaioni gwedd ei wyneb.
Nefolaidd, fyw awelon,
O Galfari i'r glaf fron,
Bâr i'r hen Bererinion
Lawenychu yn llu llon.

O! na wawdier eu nwydau,—o lleinw
Eu llawenydd weithiau,
Yn floeddiad gorfoleddau,
A'u holl nerth yn llawenhau!

Ail i ryw dorf f'ai lawer dydd
'N croesi afrywiog gras fröydd
Anelwig, faith anialwch,
Trwy dir llosg, trwy dyrau llwch.

Y tanbaith haul tewynboeth
Dywynai ar dywod noeth;
Y wybr oll yn ail i brês,
Neu ffyrnig enau ffwrnes;
A phoethwynt y diffeithwch
Yn tröell hèl pentyrau llwch
I'w gwynebau, gan ubain
Rhuad sobr ei ddybryd sain;
A hwythau ymron, weithian,
Gan ei wg, a gwywo 'n wan;
Pan nesânt wemp ynysig,*
Neu ardd fras â'i hiraidd frig,
I'w cyfer yn cyhwfan
Uwch y fwll anhygyrch fan;
Ffrydiau mêl hoff red o'u min,
Hwy frysiant i'r fro iesin,
Gorfoleddus gryf floeddiant
Yn llawn nwyf, a llawenhant.
Daw ail nerth i'w dal yn awr,
Yn eu trymaf boen tramawr;
Anelant yn mlaen eilwaith
O'r ael deg, i roi'r ail daith;
O *oasis* i *oasis* ânt,
Yn raddol, nes cyrhaeddant
Ben y daith, o boenau dig
Yr anial garw unig.
 Beth yw da Sabbathau dyn?
Onid eilydd yn dilyn
Ar adwythig hir deithiau
Anial byd—ddifwynol bau.
Pererinion Seion sydd
Yn anhrefn bywyd penrhydd
Y "chwe dydd," yn fynych dan
Arw ofid o ryw-fan.
Gafaela baich gofal byd
Yn eu hanian un enyd;
Prysur waith parhaus ar ol
A'u llwytha yn fwy llethol;

* Oasis.

Yna llwon y lluaws,
Rheg, a nwyf, y drwg eu naws
Yn ddi-ddawr o ddydd i ddydd,
Boena eu hyspryd beunydd.
Nes i'w gwastad ddwys gystudd,
Ysu, bron, eu heinioes brudd.
Y Sabbath hoenus heibiaw
A newydd wedd yna ddaw;
Dwg heddwch yn deg iddynt,
Llawenydd, a llonydd hynt.
Newydd flas o'i ddwyfol hedd,
Wresoga'u hymrous agwedd.

Eu gwan aidd a gynydda—i awchus
Ail gychwyn i'w gyrfa;
Nid amharch y byd yma
A'u hyrddia hwynt o'u ffordd dda.

O Sul i Sul, gan neshau
I'r eirian nef ororau,
O nerth i nerth, fel hyn ânt
Hwy, nes yr ymddangosant
O'r hen daith, gerbron Duw Ion,
Yn weis hoyw yn Seion.

Un Sabbath anwyl a sa'i byth yno,
A Dwyfol lawenydd pur diflino,
Heb awr o alar, heb air o wylo,
Nag un ochenaid egwan, na chwyno,
Ond denawl fawl yn tonnio—'n oestadol
Yn der fwyneiddiol, heb derfyn iddo.

O ! dyma, enaid, Sabbath dymunol !
Yn hwn trig heddwch mewn hoen tragwyddol;
Parhäol egyr swn per lewygol
Y mwyn delynau mewn odlau unol
Yn oroïan chwareüol—o bob tant,
Neu gan llawn nwyfiant gan y llu Nefol.

Ni ddirwyn y dydd araul
I nychlyd hwyr machlyd haul;

Ni ddaw nos i guddio nen—ei emog
A digwmmwl wybren,
Neu i luddio mawl addien
Yn y llu o fewn y llen.

Yna beth yw 'n Sabbathau?—onid
Ryw weinion gysgodau
I'n hebrwng ar ein llwybrau
I fro hedd rhag ein llwfrhau ?

Torredig bortreiadau—o fwyniant,
Neu fyw ogoniant y Nef a'i gwenau ?

O ! na foed i ynfydion
Halogi 'r wyl hygar hon

Nid dienw drefniad dynol—ydyw,
Ond gosodiad Dwyfol
O fesur y Ddeddf Foesol
Na wel neb ei galw 'n ol.

Ië'r Ffun a orphenodd—y crëad
A'i cröyw fendigodd;
Ac a'i diddadl sancteiddiodd
I'w enw mwy yr un modd.

Y Duw hwnw a'i hordeiniodd—cyn hir
Yn y cnawd a'i parchodd,
A'i hoff arfer cydffurfiodd—yn ein mysg,
A hyn er addysg i ni a roddodd.

Agor chwerwon garcharau,—dwyn y caeth
Dan eu cur o'u rhwymau;
A rhoddi hedd i'n rhyddhau,
Annedwydd wael eneidiau.

Rhoi addysg i'r rhai eiddil,
A iachau yr afiach hil;
Angelaidd efengylu
I weinion dylodion lu,
Y byddai'n hyf, heb oddef
Ystryw un ei rwystro ef.

Ei ëang esiampl ddangosodd.
Rhaid i ni mwy rodio un modd.

Nid ysig orwedd, nid segura—ddylem,
Pan ddelo'r dydd yma;
Eithr di-os wneuthur da,
O'n gwirfodd ar ein gyrfa.

Rhanu addysg rhinweddol—i weiniaid,
O enau'r Gair Dwyfol;
Gweddio, annog, eiddunol
Ddàl yn hyf i ddilyn ei ol.

Nad ofnom wneuthur defnydd--o hono
I ddybenion crefydd;
Ond uno mewn dywenydd—yn ffyddlon
Ar waith un galon i nerthu'n gilydd.

Er hynny llai o'r hanner—y beiddia
Neb oddef un amser
Ei wthio'n ol o waith Ner
I'n blysig hunan bleser.

Na, dywed Duw y duwiau—na honom
Ein hunan fyddyliau;
A siarad ein mwys eiriau—ei ddydd ef
Ni all Hwn oddef trwy'n holl aneddau.

Ba resynol bersonau—a'i nodant
I'w cnawdol bleserau,
A chario i fewn chwareufäau
I ysu byth ein Sabbathau ?

Ai rhyw ddyn bŷr ei ddoniau—a ddirwyn
Ddaearol gyfreithiau,
I fynu hyf gyfiawnhau—hen aflan
Flys ei anian i felus wyniau ?

O Reolwyr Lloegr wiwlon—na feiddiwch
I foddio plant dynion
Wneuthur rhad Sabbothau'r Ion
Yn wyliau annuwiolion.

O ! na *ddarniwch* ei ddiwrnod—i annog
Drygioni a phechod;
Neu oddef fyth iddo fod
Yn wasarn pob dyn isod.

Wych weithwyr gwyliwch chwithau—anweddus
Ddefnyddio 'ch Sabbathau,
Na'u gofyn hwynt i wag fwynhau—cnawdol
Wŷn niweidiol unrhyw nwydau.

Rhai dynion er rhodiana a'u honant
I'w hunain gyfleustra,
Rhai i loddest hir wledda;
Ond Duw a dd'wed nad yw dda.

O! gwyliwn rhag ofn gwelir
Ei lid tost yn dal y tir,
I arwain draw a barn drom,
Ei ddiwrnod oddiarnom;
A'n rhoi ninau'r un enyd
I rymus balf gormes byd.
Ail plant Israel, gwael eu gwedd,
Dan anwar dŷn ewinedd
Pharaoh ddig, pan gyffrodd ef
I'w hodrist rwystro *adref*.
Ryw ail dasg dydd ar ol dydd
Ar eu gwarau trwy gerydd,
Roddai ef, yn ddiryddhad.
Gan estyn eu gwae'n wastad;
Heb un Sul yn byw neshau
I neb ochel eu beichiau;
Na rhoi gwên ar chwerw gur
Ing eu hoes, a'u hangysur;
Neu Sabbath mewn oes heibiaw—leddfai ddig,
I'w gwael gyrph ysig gael gorphwysaw.

O! iawn frodyr unfrydawl—anwyliaid
Hen Walia grefyddawl,
O! mynwn yn ddymunawl,
Gyhyd â'n hoes gadw ein hawl.

A choded ymdrechiadau—i hoffus
Ddiffyn ein Sabbathau;
A mynwch chwi a minnau
Ymroi o hyd i'w marhau.

IOLO MORGANWG.

# HANES LLANELLI.

GAN MR. DAVID BOWEN, LLANELLI,
*(Dafydd ab Owen.)*

## RHAGYMADRODD.

Nid oes odid ddyn ar y ddaear na theimla ddyddordeb mewn hanesyddiaeth, na gwladgarwr mewn bod na ymblesera wrth olrhain hanes ei wlad. Nid oes neb all ddywedyd pa faint mae y byd yn ddyledus i hanesyddiaeth am ei sefyllfa wareiddiedig bresenol. Rhydd hi ei chymhorth i'r bardd hedegog a'r athronydd dwfn-dreiddiol, ac ati hi yr edrycha yr ymherawdwr cadarn a'r brenin goruchel, am hyfforddiadau i lywodraethu eu tiriogaethau ëang. Heb gymhorth hanesyddiaeth ni fuasai un oes yn medru elwa dim ar brofiad yr oesau blaenorol, ond buasai pob oes yn gorfod dechreu ei bodolaeth yn yr un sefyllfa ag y dechreuodd Adda ei eiddo ef. Beth fuasai sefyllfa yr oes bresenol oni buasai ei bod gwedi elwa ar brofiadau oesoedd blaenorol?

Mae yr hynafieithydd a'r hanesydd yn ddau gydymaith ffyddlon. Gwaith yr hynafieithydd yw tynu ymaith y llwch oddiar lechres dygwyddiadau yr oesau, tra mai gorchwyl yr hanesydd yw croniclo y pethau pwysig hyny sydd yn dal cysylltiad â dadblygiadau adnoddion gwledydd a chyfandiroedd yn ei oes a'i ddyddiau ef. Yn y traethawd canlynol mae gan yr hynafieithydd a'r hanesydd eu cyfran. Nid oedd y defnyddiau hynafiaethol ond ychydig, tra yr oedd y defnyddiau hanesyddol yn lluosog ac amrywiol. Yr ydym wedi dethol o'r defnyddiau hynafiaethol y pethau oeddynt fwyaf tebyg i fod yn wirionedd, a chyfleu y rhanau hanesyddol mewn arddull mor ddarllenadwy ag y medrwn. Er mwyn trefnusrwydd, rhanasom ein Traethawd i Bump o Bennodau.

# PENNOD I.

## HANES BOREUOL Y LLE.

CYNNWYSIAD :—Ei safle—Terfynau y Fwrdeisdref a'r Plwyf—Tarddiad yr enw—Hanes Eglwys y Plwyf—Hen Gapeli y Maenorau—Ffynon Eli—Hynafiaeth y lle—Monachdy Machynys—Hanes Trebeddod a Chae'r-groes—Llanelli yn hen Amddiffynfa Frydeinig—Ymweliad y Pla a'r lle—Teulu y Stepneys a'r Manseliaid—Hen ddarnau o aur wedi eu darganfod.

LLANELLI (neu *Llanelly* yn Saesoneg) sydd dref boblogaidd yn Swydd Gaerfyrddin, oddeutu deuddeg milldir i'r gorllewin o Abertawe, a phymtheg i'r deau-ddwyrain o Gaerfyrddin. Saif ar y rhan ddeheuol o'r plwyf, oddeutu milldir o làn y môr. Dywedir ei bod yn sefyll yn agos iawn i ganol Cawg Glo Deheudir Cymru, yr hwn a gynnwysa 42 o haenau o lo yn gorwedd y naill ar y llall, ond fod haenau cedyrn o greigiau rhyngddynt. Er fod corff y dref oddeutu milldir o'r porthladd, etto mae y tai wedi eu hadeiladu bob cam o'r dref i'r porthladd. Mae y dref wedi ei hadeiladu yn fwy er cyfleusdra nag addurniant; ac felly yn lled wasgaredig. Saif ar lanau yr afon Lliedi, a chysylltir y ddwy ochr â thair o bontydd, sef Pont y *Falcon*, Pont Cae Swan, a Phont y Felin Dân. Mae yr afon Lliedi yn tarddu ar Fynydd Sylen, ar dir ffermdy, o'r enw Wastodwen, ac heb fod yn mhell oddiwrth fferm o'r enw Blaenlliedi, yr hon a gymer ei henw oddiwrthi. Nid yw yr afon yn un fawr ei maintioli; ond ar ol gwlawogydd mawrion, mae yn chwyddo dros ei cheulanau, ac yn peri difrodiadau dirfawr. Mae y rhan ogleddol o'r dref yn sefyll ar ychydig o godiad tir, tra mae y rhan ddeheuol ar dir gwastad a llyfn.

Mae Plwyf Llanelli yn eang iawn, ac yn cynnwys oddeutu 20,000 o erwau o dir, ac y mae llawer o'r tir gystal a'r goreu yn y Deheudir. Rhenir ef i bedair o Faenorau, heblaw y Fwrdeisdref, y rhai a elwir Hengoed, Glyn, Westfa, a Berwick. Terfynir ef i'r gogledd gan yr afon Gwendraeth Fawr, i'r deau a'r dwyrain gan yr afon Llwchwr, ac i'r gorllewin gan yr afon Dulais. Mae y Fwrdeisdref yn lled eang hefyd. Estyna i'r dwyrain hyd fferm o'r enw Brynsherfel, lle daw i gyffyrddiad â Maenor Berwick; ond rheda Maenor Westfa trwyddi o'r Tyisaf, gerllaw Safle Reilffordd Deheudir Cymru, yn mlaen dros fryn y Bigyn, gan gymeryd i fewn Eglwys St. Paul's, dau dŷ sydd ar y Wern, Llwyngyfarthwch, gwaith glo St. George, Capel Isaf,

&c., &c. Mae rhyw gymysgedd ymddangosiadol yn y Maenorau yn y cyfeiriad yma; mae y naill yn rhedeg yn annhrefnus i'r llall. Estyna y Fwrdeisdref i'r dwyrain-ogledd hyd Alltygof, i'r gogledd-orllewin hyd hen Ffordd y Ffwrnes, ac i'r gorllewin hyd y Sandy, lle daw i gyffyrddiad a Maenor Hengoed. Estyna i'r deau hyd Machynys, lle gesyd y weilgi derfyn arni. Cymer i fyny hefyd y rhan fwyaf o'r Morfa-mawr.

Bernir fod y dref yn cael ei galw yn *Llanelli*, oblegid fod y Llan, neu Eglwys y Plwyf, wedi ei chysegru i Santes *Ellyw* neu *Elyw*, yn ol rhai ysgrifenwyr. Dywed Carnhuanawc, yn Hanes Cymru, mai wyres oedd yr Elliw hon i Brychan Brycheiniog, yr hwn a flodeuodd tua'r flwyddyn 400; ac felly, *Llanelliw*, ac nid *Llanelli* yw enw mwyaf priodol y lle. Mae hen *fap* yn ein meddiant, yr hwn sydd wedi ei gynllunio yn ol yr hen raniadau, sef Gwynedd, Powys a Dinefawr. Yn y *map* hwn, yr hwn a ailgyhoeddwyd yn y flwyddyn 1788, gan Mr. William Owen, gelwir hi *Llanelliw*, yn nosran Dinefawr.

Nid oes hanes sicr pa bryd yr adeiladwyd Eglwys y Plwyf. Fel y sylwasom yn barod, blodeuodd Brychan tua'r flwyddyn 400; ac os i'w wyres, Elliw, mae wedi ei chysegru, dichon iddi gael ei hadeiladu yn fuan ar ol ei amser ef. Ond pa un a gafodd yr Eglwys ei chysegru iddi hi yn ystod ei bywyd, neu ganrifoedd ar ol hyny, sydd fater arall. Gwrthwyneba rhai y golygiad hwn, am fod Eglwys Llanelli, Brycheiniog, wedi ei chysegru i Santes Elliw, ac nad yw yn debyg iawn i Eglwys yn Swydd Gaerfyrddin gael ei chysegru i'r un Santes. Nid ydym ni yn gweled nemawr o rym yn yr ymresymiad hwn, oblegid yr ydym yn ymwybodol fod tair Eglwys gwedi cael eu cysegru i St. Teilo, a'r tair hyny mewn tair o wahanol siroedd, sef Eglwys Llandilo-fawr, Sir Gaerfyrddin; Eglwys Llandilo-talybont, Sir Forganwg; ac Eglwys Llandilo, Sir Benfro. Mae amryw eglwysi yn mhob sir yn Nghymru wedi eu cysegru i St. Dewi, er mai brodor o Geredigion ydoedd. Yn wir, mae lluosogrwydd yr eglwysi sydd wedi eu cysegru i'r gwahanol seintiau yn ddangoseg lled gywir o'u henwogrwydd yn eu hoes. Mae cwpan cymun mewn arferiad yn bresenol yn Eglwys Llanelli yn dwyn y dyddiad 1574. Yr oedd hyn yn nheyrnasiad y Frenines Elizabeth, ac oddeutu deugain o flynyddau wedi y diwygiad oddiwrth Babyddiaeth. Mae y cwpan yn edrych yn dda iawn.

Mae y golofn henaf yn yr Eglwys yn dwyn y dyddiad 1683. Rees Goring Thomas, Ysw., yw perchenog holl ddegwm y Plwyf. Prynodd ei dad, Morgan Thomas, Ysw., ef gan John, *Marquis of Granby.*

Cyn y Diwygiad oddiwrth Babyddiaeth yr oedd Capel Eglwysig yn mhob un o'r Maenorau, ac y mae eu hadfeilion ar gael hyd yn bresenol. Mae adfeilion capel Maenor Westfa, yr hwn a elwid Capel Gwenllo, yn muarth fferm Capel Isaf, gerllaw y Box. Mae adfeilion capel Maenor Berwick gerllaw Llwynhendy. Cysegrid y Capel hwn i St. Dewi. Bwriadir ei adnewyddu yn fuan, er cynal addoliad crefyddol ynddo. Safai Capel Maenor Hengoed oddeutu chwarter milldir o ffermdy a elwir Capel Sylen, tua chanol planhigfa Mr. Nevill, ar ochr Mynydd Sylen. Nid oes rhyw lawer o olion y Capel i'w canfod yno yn awr, er fod digon i brofi fod capel wedi bod yno. Diau i'r fferm gymeryd ei henw oddiwrtho. Mae Capel Maenor y Glyn yn sefyll yn bresenol; gelwir ef Capel Evan, a chynelir gwasanaeth cyson ynddo. Y Curad presenol ydyw y Parch. David Jenkins.

Gwedi y Diwygiad oddiwrth Babyddiaeth, pan droswyd y Degwm oddiwrth yr Eglwys gan Harri VIII, rhoddwyd i fynu gynal gwasanaeth yn Nghapeli y Maenorau, a chyfyngid ef i Gapel neu Eglwys y Fwrdeisdref. Mae hen gapel y Fwrdeisdref yn sefyll yn bresenol, ac yn ffurfio Cangell Eglwys y Plwyf. Yr unig beth sydd yn aros yn yr Eglwys o olion Pabyddiaeth ydyw cell fechan yn mur y Gangell, lle y cedwid y dwfr sanctaidd, yn ol pob tebyg. Yr oedd clochdy bychan o ffurf hollol Babaidd yn sefyll o fewn y pymtheg mlynedd ar hugain diweddaf, i'r tu dwyreiniol i'r Eglwys, yn gystal a'r un sydd yn sefyll yn bresenol i'r tu gorllewinol.

Mae ffynon gerllaw y dref, ar dir Cille, a elwir Ffynon Eli. Lled-awgrymai Mr. John Thomas, (*Glantowy*) yn ei ddarlith ragorol ar "Enwau Lleoedd yn Nghymydogaeth Llanelli," yr hon a draddododd o flaen y *Mechanics' Institution,* fod y Ffynon wedi ei chysegru i ryw sant enwog o'r enw Eli. Barna ereill mai i Santes Elliw y cafodd ei chysegru, ond fod yr enw wedi ei lygru. Cynwysa y ffynon hon y dwfr mwyaf iachusol yn yr holl gymydogaethau, ac y mae yn ddigon tebyg iddi gael ei chyfrif yn rhinweddol gynt.

Bu Llanelli a'i chymydogaethau yn fanau pwysig iawn gan y Pabyddion am oesau lawer. Dywedir i St. Piero adeiladu Monachdy ardderchog yn y man y saif ffermdy Machynys arno yn bresenol, tua'r flwyddyn 513. Cyfansoddodd y Sant hwn ei hun yn Abad cyntaf y lle, a dilynwyd ef gan Samson, dysgybl St. Illtyd. Yr oedd Machynys yn ynys ar ei phen ei hun mor ddiweddar a phedwar ugain mlynedd yn ol. Mae ei henw yn profi hyny i raddau pell. Monach Ynys (*Monk's Island*) yw ei henw mwyaf priodol, a gelwid hi felly am mai arni yr oedd prif safle y Monachod. (Gwel *Lewis's Topographical Dictionary.*) Yn *map* y *Stepney Estate*, sydd yn meddiant Wm. Rosser, Ysw., yr hwn a wnaed yn y flwyddyn 1761, dangosir Machynys fel ynys. Yn wir y mae personau yn fyw yn awr sydd yn cofio fod yn rhaid cael cychod i groesi i Machynys, yn enwedig pan oedd y llanw i fewn. Tebyg fod y Monachdy wedi bod yn enwog am oesau lawer. Yn fwy diweddar, wedi dinystrio Monachdy Machynys, daethai offeiriaid Pabaidd o Fonachdy Castellnedd i gyflawni gwasanaeth yn nghapeli maenorau plwyf Llanelli. Dywed traddodiad fod Ysbytty ëang gan y Pabyddion gerllaw y lle a elwir yn bresenol Ysbytty. Yno y cyfarfyddai yr offeiriaid Pabaidd ar ol eu teithiau hirfeithion i gyflawnu gwasanaeth yn ngwahanol gapeli y maenorau, ynghyd a chapeli eraill oeddynt gyfagos.

Hyd o fewn ychydig flynyddau yn ol, yr oedd darn mawr o gareg ar lun croes, ar gae a elwir Cae'rgroes, yr hwn sydd ar ochr y ffordd i'r Ffwrnes. Diau i'r cae gymeryd ei enw oddiwrth y groes oedd ynddo. Claddai y Pabyddion eu meirw yn Trebeddod, neu yn fwy priodol *Trebeddrod*, yr hwn a elwir felly oherwydd fod ynddo luoedd o feddau. Mae yno hyd yn awr ddarn o fur yr hen gapel yn yr hwn yr elid trwy wasanaeth y marw wrth gladdu. Mae y mur braidd yn gyd-wastad â'r llawr, ond y mae amryw hen bobl yn fyw yn bresenol sydd yn ei gofio ar lun capel. Pan elai y Pabyddion â'u meirw i'w claddu i Drebeddrod, talai pawb eu moes-gyfarchiad i'r groes.

Dywedir fod amddiffynfeydd cedyrn wedi bod yn agos i'r lle a elwir yn bresenol Pencastell, sef tu fewn i Barc William Chambers, Ysw. Mae cae hefyd gerllaw y Forge a elwir yr Hen Gastell, ac y mae twmpath mawr ar ei ganol; a myn rhai fod hen amddiffynfa wedi bod yno er ys oesoedd lawer yn ol.

Dywed Mr. Lewis yn ei *Topographical Dictionary*, fod Llanelli wedi bod yn lle pwysig iawn fel hen amddiffynfa Frydeinig. Crybwyllir am Llanelli fel Bwrdeisdref mor foreu a theyrnasiad Edward II, sef tua'r flwyddyn 1310; ond ni sonir dim am ei hamddiffynfeydd. Yr ydym wedi methu dyfod o hyd i unrhyw hysbysrwydd sicr yn eu cylch; ac heb i ni gael ffeithiau hanesyddol dan ein traed, ni thafla un ddamcaniaeth o'n heiddo ni ddim goleuni ar y pwnc. Digon tebyg fod amddiffynfa gref wedi bod ar Pencastell.

Yn y flwyddyn 1653, ymwelodd pla dychrynllyd â Llanelli. Ysgubodd ymaith luaws mawr o'r trigolion mewn amser byr. Parhaodd yn ei rwysg am oddeutu chwech mis, yn ystod pa amser yr oedd rhai o'r teuluoedd tylodion ar newynu, oblegid ni fedrent ddilyn eu galwedigaethau. Gwneid i fynu y trigolion yn benaf o bysgodwyr, ynghyd ag ychydig löwyr. Nid oedd ond rhyw rith o farchnadfa yma y pryd hwnw, yr hon a gynelid ar ochrau yr heolydd. Pan glywodd trigolion y wlad oddiamgylch fod y pla mor enbyd yn Llanelli, ni ddaethai ond ychydig o honynt â'u nwyddau i'r farchnad yr wythnos ar ol hyny, ac o'r ychydig a ddaethant, ni ddiangodd llawer heb gael eu cymeryd yn glaf, a marw yn fuan. Erbyn hyn yr oedd dychryn wedi meddiannu pawb; ac ni ddaethai neb o'r amaethwyr yn agosach i'r dref na *Chae Watch*, ger Capel Newydd, ac ni chaniateid i neb o bobl y dref i fyned yn mhellach i'r wlad na'r cae uchod. Yr oedd gwylwyr wedi eu gosod yno i atal pobl y dref i fyned allan i'r wlad, a phobl y wlad i'r dref; ac y mae yn ddigon tebyg mai oddiwrth hyny y galwyd y cae yn *Cae Watch*. Gadawai yr amaethwyr eu nwyddau ar y cae, ac aethent ymaith. Yna deuai trigolion y dref i fynu i'r cae, cymerent y nwyddau, a gadawent eu gwerth mewn hen gawg careg, yr hwn oedd yn llawn dwfr. Gwnaethent hyny fel na buasai i'r pla ymledu drwy fod y naill yn trafod arian y lleill. Yr oedd cawg o'r fath hefyd gerllaw i dy J. K. Cook, Ysw., ar gyfer y rhai a ddeuent i fynu o Benbre, oblegid hono oedd ffordd Penbre y pryd hwnw. Felly y cariwyd pethau yn mlaen nes i'r pla adael y gororau yn llwyr. Ymwelodd y geri marwol â'r lle yn 1832 a 1849, ac ysgubodd ymaith luaws mawr o'r trigolion.

Nid oedd ond ychydig o dai yn y dref yn y flwyddyn 1700,

a'r rhai hyny yn rhai bychain, tô cawn. Nid oedd Palasdy y Stepneys ond bychan iawn mewn cymhariaeth y pryd hwnw. Adeiladwyd y *Llanelly House*, fel y saif yn bresenol, yn y flwyddyn 1714, gan Syr Thomas Stepney. Mae teulu y Stepneys yn un o'r rhai mwyaf cyfrifol yn Lloegr. Deilliodd oddiwrth Arglwydd Ralph Stepney, Palasdy Aldenham, swydd Hertford, yr hwn a gladdwyd yn Eglwys Aldenham, yn y flwyddyn 1545. Priododd ei fab, Syr John Stepney, â Justine merch Syr Anthony Van Dyck, un o arlunwyr penaf yr oes hono. Dywedir mai rhai lluniau o waith Van Dyck sydd ar furiau Machynys yn bresenol. Pendefig enwog iawn a berthynai i'r teulu oedd Syr George Stepney, yr hwn oedd yn ddysgedig iawn, ac yn fardd rhagorol. Yr oedd mewn ffafr fawr iawn gyda Gwilym III. a'r frenines, ac yn dal swyddi anrhydeddus danynt. Fel y gwyddis, mae etifeddiaeth y Stepneys yn ddwy ran, un yn Sir Gaerfyrddin, a'r llall yn Sir Benfro. Daeth etifeddiaeth Sir Benfro iddynt drwy i Syr Alban Stepney briodi merch ac etifeddes Thomas Catharin, Ysw., Prendergast; ac wedi ei chladdu priododd ferch ac etifeddes Wm. Phillips, Ysw., *Picton Castle*, ac felly ychwanegwyd dwy etifeddiaeth yn Sir Benfro at yr eiddo ef yn sir Gaerfyrddin. Crewyd ei fab John, yr hwn oedd o'r wraig gyntaf, yn Farwn yn y flwyddyn 1586, sef y 19fed o deyrnasiad Iago I. Mae yr etifeddiaeth yn bresenol yn meddiant Miss Eliza Gulston Stepney.

Teulu enwog arall a breswyliai gerllaw Llanelli oedd y Manseliaid o'r *Stradey*. Ar un amser meddianent y rhan fwyaf o'r tir o Lanelli i Gasllwchwr. Crewyd dau o'r teulu yn Farwniaid yn y flwyddyn 1621. Mae un o'r teitlau yn cael ei ddal yn bresenol gan Syr William Mansell. Bu farw Mrs. Mary Ann Mansell yn y flwyddyn 1808; ac oddiar hyny mae yr etifeddiaeth yn meddiant David Lewis, Ysw.

Yn y flwyddyn 1820, pan oeddid yn gwneud rhyw gyfnewidiad yn yr hen *Red Lion*, (sef y siop lle mae Mrs. Martha Bowen yn bresenol) daethwyd o hyd i 16 o ddarnau aur bathedig yn y mur, pob un gymaint o gylchedd a haner coron, ond gryn dipyn yn deneuach. Ar un wyneb yr oedd pais arfau Ffrainc a Phrydain, a llun croes dyblyg ar y wyneb arall, coron, a llew o dan y goron.—Nid oedd un dyddiad arnynt ond ymddangosent yn hen iawn.

# PENNOD II.

## HANES SEFYDLIAD Y GWEITHFEYDD, &c.

**CYNNWYSIAD**:—Adnoddau y lle yn adnabyddus yn y flwyddyn 1586—Hen Byllau—Gweithfeydd Glo bychain—Pyllau y Wern—Pyllau Lady Mansel—Dechreuad Gweithfeydd Cae'r Elms, Caebad, a Chaemain—Dechreuad Gwaith Haiarn y Ffwrnes—Agoriad y Reilffordd i'r Mynydd-mawr—Y Forge—Dechreuad a chynydd Gwaith Copr Penrhos—Y Cambrian Copper Works—Agoriad Reilffoidd St. David's—Reilffordd Llandilo—Y Pottery—Hanes sefydliad y Bwrdeiswyr—Y Llysdy—Y ddwy farchnadfa—Y Bwrdd Iechyd—Y Gweithdy.

Y peth cyntaf a ddaw dan ein sylw yn y bennod hon yw sefydliad Gweithfeydd yn y lle, oblegid sefydliad Gweithfeydd osododd angenrheidrwydd am sefydliad pob peth arall. Mae yn debyg fod adnoddion y lle yn adnabyddus yn foreu iawn. Dywed Leland, yn ei hanes o'r Deheudir, yr hwn a gyhoeddwyd yn y flwyddyn 1586, fel y canlyn am lo Llanelli. Gosodaf y dyfyniad gerbron y darllenydd yn ei eiriau ef ei hun :—

"At Llanethli, a village of Kidwelli Lordship, six miles from Kidwelli, the inhabitants dig coles, els scant in Kidwelli land—there be ii maner of these coles; ring coles for smith be blowed and watered; stone coles be sometime watered, but never blowed, for blowing extinguisheth them—So that Vendraeth Vawr coles be stone coles, Llanethli coles ring coles."

Er fod adnoddion y lle yn adnabyddus mor foreu a'r flwyddyn 1586, ni chawsant eu gweithio ond ar *scale* fechan am ganrifoedd wedi hyny. Yr oedd yr hen bobl yn gweithio llawer o frigau y gwahanol wythienau er yn foreu iawn. Tua'r flwyddyn 1766, agorwyd pwll bychan ar Waunhallt, ger Llwyngyfarthwch, o'r hwn y codid glo gyda chwim, neu olwyn fawr, yn cael ei throi gan geffyl. Ac yn ddisymwth iawn, pan oeddid yn cyfodi dwfr o hono ar ddydd Sul, torodd dwfr i fewn iddo o hen bwll oedd wedi ei weithio er cyn cof gan bawb oeddynt yn fyw yr amser hwnw. Agorwyd pwll hefyd tua'r un amser yn agos i St. George, o'r hwn y cyfodid y glo gyda g olwyn ddwfr. Dygid dwfr i weithio yr olwyn o afon y dref drwy gwter a redai dros ben isaf y Wern, heibio fferm y Tyisaf, a than ffermdy Penyfan. Braidd nad ellir gwneud allan olion ei redfa yn bresenol. Daeth Mr. Webb o hyd i luaws o'r hen sugnedyddion wrth agor pwll ar dir Llwynwhilwg.

Gweithiai yr hen bobl lefel, yn dechreu yn Nghaecotton, ac yn dyfod allan yn Nghwm Capel Uchaf, gerllaw yr Half-way. Y mae hen bwll awyr perthynol iddi gerllaw y Stable. Gellir canfod ei genau yn bresenol yn Nghaecotton-isaf.

Agorwyd amryw byllau bychain ar hyd y Wern a'r Caeau Gleision, gan un John Allen, Ysw., tua'r flwyddyn 1754. Cludid y glo i lan y môr ar gefnau mulod, ac ni lwythid llongau bychain 20 tunell mewn llai na thair wythnos o amser. Gwnaeth Mr. Allen £5 yn ei ewyllys i'w cyfranu mewn Beiblau i dlodion y plwyf bob blwyddyn. Cyfranwyd hwy am lawer o flynyddau, ac y mae rhai o honynt i'w cael hyd yn bresenol yn meddiant hen bobl, ond dirymwyd ei ewyllys gan y *Mortmain Act.*

Tua'r flwyddyn 1794, dechreuodd Meistriaid Bowen a Roderick weithio glo yn hen byllau Mr. Allen. Hwy a wnaethant y camlas a redai trwy ben isaf y Wern i lan y môr, dros yr hwn y cludid yr holl lô a weithient. Darfu iddynt osod rhod ddwfr i godi y dwfr, a buont yn dra llwyddianus yn eu hanturiaeth. Gweithient lô yn Mhwll Cae Pulpud, Pwll Cornel, Pwll Merchant, Pwll Melyn, Pwll Uchaf y Wern, &c., a chodid y dwfr drwy Bwll y rhod-isaf a Phwll y rhod-uchaf.

Gweithid glô gan Lady Mansell, tua'r flwyddyn 1791, ar dir Penyfinglawdd; ac yr oedd Pyllau bychain ganddi hefyd gerllaw y Sandy, Morfabach, Caeperson, Cae'rhalen, Waunelly, Cilfig, &c. Yr oedd rhod ganddi yn codi dwfr gerllaw Caemain.

Tua'r flwyddyn 1796, cafodd un Mr. Gwyn *lease* gan Syr Edward Joseph Sewin-Mansell ar yr holl lo ar ei etifeddiaeth o afon y Stradey hyd afon Llwchwr; ac un o'r telerau ydoedd ei fod i gadw pump glöwr yn gyson ar waith. Aeth Mr. Gwyn yn feth-dalwr yn fuan, a gorfu arno i roddi fyny y glo i'r ochr ogleddol i'r afon Lliedi; ac felly galluogwyd Lady Mansel i roddi *lease* i Alex. Raby, Ysw., ar lô Caemain. Yr oedd Gwyn yn gweithio ei lô gerllaw y Box. Yn fuan methodd drachefn, a rhoddodd fynu ei hawl i lô yr ochr ddeheuol i'r afon, i un Mr. Townsend, ond ni fu efe yno yn hir, ond gwerthodd ei hawl i un Mr. Smith. Mewn ychydig flynyddau, gwerthodd Smith ei hawl i Alexander Raby, Ysw., yr hwn a agorodd bwll presenol y Box. Mewn blynyddau wedi hyny, daeth y gwaith i ddwylaw

General Warde; ac yn y flwyddyn 1819, daeth i Meistri Sims, Willyams, Nevill, & Co., ac y mae yn eu dwylaw hyd y dydd heddyw.

Tua'r flwyddyn 1791, adeiladwyd yr hen Ffwrnes gan Meistri Givers & Ingman. Bu yn gweithio ar *scale* fechan ganddynt hyd y flwyddyn 1796, pan ddaeth i feddiant Alexander Raby, Ysw. Mae yn debyg fod Mr. Raby wedi rhoddi benthyg arian iddynt i'w adeiladu; ac yn lle yr arian hyny rhoddasant y gwaith i fynu iddo. Nid oedd yma ond un Ffwrnes hyd y fl. 1800, pan adeiladodd Mr. Raby y Ffwrnes newydd. Ar y cyntaf dygid y glo o byllau bychain Penyfinglawdd, mewn certi bychain, y rhai a dynid gan fulod ac eidionau; ond yn y flwyddyn 1798, agorodd Mr. Raby byllau Cae'r Elms a Chaebad, y rhai a fuont yn gweithio am flynyddau. Yn y flwyddyn 1800, agorodd bwll Caemain, a gweithiwyd o'r pwll hwnw yr holl lô sydd oddidan y dref i fynu hyd y Box. Buwyd yn gweithio yn Nghaemain hyd y flwyddyn 1837.

Dygid peth o'r mwn haiarn dros y môr o Lancashire ac Amlwch, a chludid ef i fynu i'r Ffwrnes dros y reilffordd. Dygid cryn lawer o fwn o Gwmgwendraeth, o Bontspwdwr i fynu hyd y Mynyddmawr. Yr oedd yn cael ei gario ar gefnau mulod, mewn cydau rhawn, nes i'r rheilffordd gael ei hagor. Yn y flwyddyn 1802, sef yr 42ain o deyrnasiad Sior III, pasiwyd deddf er gwneud reilffordd o'r *Flatts*, Llanelli, hyd y creigiau calch a elwir Castell y Gareg, yn mhlwyf Llanfihangel Aberbythich. Yr oedd y reilffordd yn dair ar ddeg a haner o filldiroedd o hyd; ac yr oedd myned a dychwelyd yn gampwaith i bâr o geffylau mewn diwrnod. Gwnaed yr holl reilffordd ar draul Alexander Raby, Ysw.

Yn y flwyddyn 1802, adeiladodd Mr. Raby *Forge* gerllaw y man y saif tai'r *Forge* yn bresenol. Yn flaenorol, danfonid ymaith yr haiarn, fel *pig iron*; ond gwedi i'r *Forge* ddyfod yn barod, dygid ef i lawr o'r Ffwrnes yno i'w rolio, &c. Aeth gwaith y Ffwrnes yn mlaen yn fywiog iawn hyd y flwyddyn 1807, pan ddiweddodd. Er na pharhaodd gwaith y Ffwrnes dan Mr. Raby ragor nag un flynedd ar ddeg, nid oes yr amheuaeth leiaf nad efe fu yn offerynol i osod i lawr sylfaen tref Llanelli; a dylai y trigolion fawrygu ei enw, a pharchu ei goffadwriaeth am hyny. Dymunem gydnabod Arthur Raby, Ysw., Almaen, mab yr hen Mr. Raby, am yr hanes uchod.

Yn y flwyddyn 1804, dechreuwyd adeiladu Gwaith Copr Penrhos, a dechreuodd weithio yn 1805. Y cwmpeini y pryd hwnw oeddynt Meistri Daniels, Saville, Guest, a Nevill; ond y cyfenwad presenol ydyw Meistri Sims, Willyams, Nevill, Druce, & Co. Dygid y gwaith yn mlaen ar *scale* fechan, ond fel pob peth gwir fawr, cynyddodd yn raddol o flwyddyn i flwyddyn, fel y mae yn awr yn un o'r gweithfeydd Copr mwyaf yn y deyrnas. Ar y cyntaf gwneid y gwaith i fynu o wyth o *galciners*, a phedwar ar ddeg o ffwrnesi. Rhwng y Gweithiau Plwm ac Arian, ynghyd â'r Gwaith Copr, rhoddir gwaith i 550 o ddynion a thelir iddynt £550 o hûr bob wythnos. Dygir y mŵn o Cornwall, Cuba, &c. Mae Melin Rolio ardderchog mewn cysylltiad â'r Gwaith, yr hon sydd yn troi allan lafnau o gopr mor llyfn ag un Felin Rolio yn y deyrnas, ac adeiledir Melin Rolio ar *scale* ëangach y flwyddyn hon. Yn y flwyddyn 1840, adeiladwyd simne fawr i gario ymaith y mwg, yr hon sydd yn 272 o droedfeddi o uchder. Gweithir glo gan y Cwmni hwn yn mhyllau yr Hengastell, Box, Llandafen, Gors, Gelly, a Phencoed, y rhai ydynt oll yn mhlwyf Llanelli. Maent yn agor pwll yn bresenol ar Bryngwyn hefyd. Codir 700 o dunelli o lo ganddynt bob dydd. Mae 3,500 o löwyr yn eu gwasanaeth, a thelir £1,700 o hûr iddynt bob pythefnos; ac felly rhwng y gweithwyr copr a'r glöwyr, mae y cwmni hwn yn talu £3,250 mewn huriau bob pythefnos. Maent fel perchenogion yn siampl i berchenogion holl weithfeydd y wlad. Ca y gweithwyr copr eu hûr bob nos Fercher, a'r glowyr bob pythefnos drwy y flwyddyn, ac ni chaniatânt i unrhyw beth eu hattal. Nid oes meistri mewn bod yn teimlo mwy o ddyddordeb yn eu gweithwyr. Yr oedd y diweddar anrhydeddus R. J. Nevill, Ysw., yn rhagori yn hyn. Os Mr. Raby osododd sylfaen Llanelli i lawr, y diweddar Mr. Nevill a'i hadeiladodd i'w mhaint presenol. Heddwch i'w lwch, a pharch i'w goffadwriaeth. Da genym feddwl fod ei feibion talentog yn dilyn ei lwybrau. Hir oes iddynt.

Yn y flwyddyn 1829, pasiwyd Deddf i gael Reilffordd o bwll Machynys (sef y Nofle Newydd) i Saint David's. Mae hon dros ddwy filltir o hyd, ac ar hyd-ddi y cludir glo St. David's, Llandafen, y Gors, Gelly, St. George, &c., i lan y môr.

Yn y flwyddyn 1830, dechreuwyd y *Cambrian Copper Works*,

gan Meistri George a Thomas Glascots. Parhaodd i weithio yn lled dda am gryn amser. Yna bu yn sefyll am ychydig; ac yn y flwyddyn 1838 ail gychwynwyd ef gan y Cwmni Copr Saesonig (*English Copper Company*), a pharhaodd yn eu dwylaw hyd y flwyddyn 1841. Defnyddir ef yn awr er ys blynyddau fel gwaith Plwm ac Arian gan Meistri Sims, Willyams, Nevill, & Co., yr hwn sydd yn myned yn y blaen yn llwyddianus, dan olygiaeth Mr. Joseph Stringer.

Yn y flwyddyn 1835, (Wm. IV, cap. 96) pasiwyd deddf i gael reilffordd o Lanelli i Landilo, gyda changenau i Gwmamman, Spith, Mynyddmawr, a Brynamman. Agorwyd hi yn 1841, i Cross Inn a Chwmamman, ac y maent yn ei hestyn yn bresennol yn mlaen i Landilo, yr hyn fydd yn ychwanegiad o saith milldir at ei hyd. Mae y reilffordd yn cysylltu â'r *South Wales Railway* yn Llanelli, ac yn cyrhaedd dros 28 milldir o ffordd, a phan fyddo Reilffordd Dyffryn Towyyn barod i gwrdd â hi yn Llandilo, bydd yr holl linell yn 36 o filldiroedd o hyd.

Mae y cyfalaw (*capital*) a dreuliodd y Cwmni arni yn £248, 621. Yr oedd y derbyniadau yn yr haner blwyddyn a derfynai y 31 o Rhagfyr, 1854, yn £9,058 15s., a'r treuliau yn £5,593 16s. 6c.; yn gwneud gweddill fel elw o £3,464 18s. 6c. Yr oedd yr holl elw yn yr hanner blwyddyn a derfynai ar y 30ain o Fehefin, 1855, yn £1,384. Felly gwelir fod y Cwmni mewn sefyllfa lwyddianus. Agorwyd Reilffordd Deheudir Cymru yn 1853.

Yn y flwyddyn 1840, sefydlwyd y *South Wales Pottery*, yr hwn a adeiladwyd ac a garid yn y blaen gan William Chambers, Ysw., hyd y flwyddyn 1855. Dygir ef yn mlaen yn bresenol gan Meistri Coombs a Holland, ac y mae y gwaith yn llewyrchus iawn. Gwneir llestri pridd o bob math ynddo.

Yn y flwyddyn 1847, dechreuwyd adeiladu Gwaith Alcan Dafen, yr hwn sydd oddeutu milltir a hanner o'r dref. Dechreuodd weithio yn 1848. Adeiladwyd ef gan y Meistri Motley a Winkworth, ond yn fuan daeth i ddwylaw ei berchenogion presennol, Meistri Phillips, Smith, a'r Cyf., y rhai a'i dygant yn mlaen gyda'r egni mwyaf. Mae oddeutu 300 o bersonau yn gweithio ynddo, rhwng gwrrywod, bechgyn, a merched, a gwneir o 900 i 1000 o flychau o alcan bob wythnos. Man dan arolygiaeth Mr. R. Maclaren. Mae y Gwaith hwn wedi ychwanegu yn

ddirfawr yn ddiweddar. Cynnwysa dri pheiriant galluog, dwy *forge*, a thri morthwyl, un o'r rhai a weithir gan ager. Maent hefyd yn ddiweddar wedi adeiladu Nwy-dŷ, a gwnant nwy rhagorol, i oleuo y Gwaith yn y nos. Mae ysgoldŷ ëang yn perthyn i'r Gwaith, ynghyd ag ysgolfeistr ac ysgolfeistres, ac addysgir y bechgyn a'r merched mewn rhifyddiaeth, daearyddiaeth, gwniadyddiaeth, &c. Mae darllenfa ragorol yn perthyn i'r Gwaith, lle derbynir pob math o lyfrau a chyhoeddiadau misol, a rhyddid i bob un o'r gweithwyr i gyfranogi o'i breintiau. Mae yr ysgoldŷ newydd ei drwyddedu i gynnal addoliad crefyddol ynddo, a'r Curad presennol ydyw y Parch. E. Jones. Ymddyga yr holl gwmpeini yn garedig a chymmwynasgar at eu gweithwyr.

Yn y flwyddyn 1852, adeiladwyd Gwaith Alcan y Morfa, Llanelli, gan y Meistri Tregoning a'r Cyf. Gwneir oddeutu 500 o flychau o alcan yn y Gwaith hwn bob wythnos, a rhoddir gwaith i oddeutu 160 o bersonau. Mae dan arolygiaeth Mr. Octavius Williams, ar gynllun yr hwn mae yr holl Waith wedi ei adeiladu. Mae darllenfa gyfleus yn perthyn i'r gwaith hwn hefyd, yr hon sydd yn agored i'r holl weithwyr. Maent yn awr ynghylch adeiladu *forge* at y Gwaith hwn, ac mor fuan ag y bydd yn barod, rhydd waith i oddeutu cant o weithwyr yn ychwanegol. Dywedir fod y ddau Waith Alcan hyn gyda y rhai mwyaf cryno yn Neheudir Cymru. Maent wedi lluosogi tai yn ddirfawr yn eu gwahanol gymmydogaethau. Mae cymmydogaeth Gwaith Dafen yn bentref mawr, ac y mae cymmydogaeth Gwaith y Morfa yn prysur ddynesu ar ei ol.

Yn y flwyddyn 1853, sefydlwyd Gwaith Haiarn, yn hytrach *Forge* Haiarn, gan y Meistri Nevill a'r Cyf., gerllaw yr Heolfawr. Yn awr mae yn feddiant i'r Meistri Nevill yn gyfangwbl, ac mae yn myned yn mlaen yn llewyrchus, ac yn debyg o barhau felly. Mae y Gwaith dan arolygiaeth Mr. Benjamin Evans.

Gallasem nodi amrywiol weithfeydd bychain ereill, ond ni chaniata ein gofod i ni sylwi ond ar y prif Weithfeydd.

Yn awr ni a adawn y gweithfeydd, ac a roddwn ychydig o hanes y Bwrdeiswyr. Fel y sylwasom yn barod, gwnaed Llanelli yn Fwrdeisdref yn nheyrnasiad Edward II, a bu yn y mwynhad o'i breintiau bwrdeisdrefol am flynyddau. Dywedir i *Chart* y Fwrdeisdref gael ei cholli mewn modd hynod iawn. Yr oedd Ffrancwr dysgedig iawn yn byw yn Nghaallwchwr. Rhywfodd

neu gilydd daeth i feddiant o *chart* Bwrdeisdref Llanelli. Naill ai yr oedd yn un o'r ymddiriedolwyr, neu yr oedd rhai o'r ymddiriedolwyr wedi cymmeryd y *chart* ato i gael eglurhad ar rai pwyntiau ynddi. Modd bynag, yr oedd y *chart* yn ei feddiant. Yn ddisymwth torodd rhyfel enbyd allan rhwng y wlad hon a Ffrainc, a gorfu arno ffoi yn lladradaidd yn ol i'r wlad hono, ac aeth â'r *chart* gydag ef, ac ni chlywyd siw na miw am dano ef na'r *chart*.

Yn y fl. 1807, (sef y 47 fl. o deyrnasiad Sior III.,) pasiwyd Deddf y Bwrdeiswyr, yr hon sydd yn dwyn y cyfenwad canlynol:—"*An Act for Inclosing Lands in Llanelly, in the County of Carmarthen, and for Leasing part of the said Lands, and applying the Rents thereof in improving the Town and Port of Llanelly.*" Mae'r *Award* sydd yn rhoddi awdurdod i ddwyn y Ddeddf uchod i weithrediad yn dwyn y dyddiad 24ain o Hydref, 1810; yn ol yr hon mae y personau canlynol, y rhai a rifant 13, yn cael eu penodi yn Ymddiriedolwyr ar y tir:—John Rees, Alexander Raby, Charles Nevill, Henry Eaton, Henry Child, William Roderick, William Child, Alexander Raby, ieuaf, a Meistri William Maurice, John Hopkins, William Yalden, George Walker, a John Brown. Penodwyd hefyd 156 o fwrdeisiaid; ond yn 1848 yr oedd y rhifedi wedi eu lleihau i 12. Gwerthodd yr Ymddiriedolwyr ddarnau o'r tir er mwyn gwneuthur y gwrthglawdd (*embankment*) i gau allan y môr. Mae yr *Award* yn rhoddi awdurdod i'r Ymddiriedolwyr i werthu darnau o'r tir at dalu unrhyw draul mewn perthynas i sicrhau diogelwch yr etifeddiaeth.

Fel yr oedd y dref yn cynnyddu, teimlid eisieu lle cymhwys i gynal cyfarfodydd yr Ynadon (hyd hyny a gynelid mewn ystafell yn Ngwestdŷ y *Falcon*) fwy-fwy bob dydd; yn ganlynol, cafodd y Bwrdeiswyr *Lease* gan Thomas Lewis, ysw., tad D. Lewis, ysw. Stradey, ar ddarn o dir i adeiladu Llysdŷ arno. Mae y *Lease* yn dwyn y dyddiad 20fed o Awst, 1821, ac i barhau bum cant o flynyddau, am 5s. y flwyddyn. Adeiladwyd ef gan Mr. John Rogers, Saer, a Mr. Thomas Griffiths, Saer-maen. Costiodd £557 15s. 9d.

Yn y flwyddyn 1828, adeiladodd D. Lewis, ysw. y Farchnad Isaf, a W. Chambers, ysw. yr Uchaf, ac agorwyd y ddwy yr un dydd. Yn flaenorol i hyn, cynhelid y Farchnad bob ochr i'r heol,

o gylch muriau, ac oddifewn, y fynwent. Ar y 23ain o Orphenaf, 1830, cytunodd y Bwrdeiswyr â D. Lewis, ysw. i roddi dau ddarn o dir iddo mewn cyfnewidiad am y Farchnad. Gelwid un darn yn Morfa-bach, ger y Forge, yr hwn a fesurai 2A. 3R. 0P., a'r llall Morfa-bychan, gerllaw Safle Reilffordd Deheudir Cymru, yr hwn a fesurai 8A. 3R. 0P. Nid oes dim toll ar y Farchnad er y flwyddyn 1838.

Yn y flwyddyn 1835, pasiwyd deddf er goleuo y dref â Nwy, (5 William IV.); ac yn y fl. 1836 dygwyd hi i weithrediad. Yn 1839, gwnaeth y Bwrdeiswyr gytundeb â Chwmpeini y Nwy, (*Gas Company,*) yr hwn oedd mewn bodolaeth bedair blynedd yn flaenorol, i oleuo y dref â nwy gyda 45 o lampau cyhoeddus, am 170 o nosweithiau bob blwyddyn, am yr hyn y cawsent £94 10s. yn flynyddol, sef £2s. 2s. am bob lamp. Yn 1848, ni chyneuid hwy ond am 135 o nosweithiau, am yr hyn y telid £65 y flwyddyn. Mae y lampau wedi eu hychwanegu yn ddiweddar; ond byddai yn dra dymunol pe byddent yn cael eu goleuo bob noson y byddo yn dywyll, ac nid yn nhymhor y gauaf yn unig. Mae lampau hefyd newydd eu hestyn dros y Wern i Lanymôr. Bwriedir yn fuan estyn yr un breintiau i drigolion y Nofle Newydd. Parheir i dalu y Cwmni Nwy am y Lampau hyn gan y Bwrdd Iechyd; ond siaradant yn gryf am brynu y Gwaith oddiwrth y Cwmpeini.

Bu y tir yn nwylaw y Bwrdeisiaid hyd y flwyddyn 1849, ac ar y 9fed o Dachwedd, y flwyddyn hòno, rhoddodd yr Ymddiriedolwyr, saith mewn nifer, eu hawl i fynu i'r Bwrdd Iechyd. Yr oedd y tir yn werth £500 y flwyddyn, ac y mae yn parhaus gynyddu yn ei werth. Oddiar pan mae y tir yn meddiant y Bwrdd Iechyd, mae llawer iawn o ddaioni wedi cael ei wneyd yn y dref. Cyfrifir y dref yn un o'r rhai glanaf a syberaf yn y sir. Mae gorchwyl o gryn bwys gan y Bwrdd Iechyd mewn llaw yn bresenol, sef dwyn dwfr iachus i'r dref; ac er nad ydyw wedi bod mor llwyddianus yn ei gylch ag y dymunai, gobeithir y caiff ei gwblhau cyn hir.

Gwedi i'r *Reform Bill* basio, dychwela Bwrdeisdref Llanelli aelod i'r Senedd mewn cysylltiad â Chaerfyrddin. Yr aelod sydd yn eu cynrychioli yn bresenol ydyw David Morris, ysw., Cadeirydd anrhydeddus Eisteddfod Llanelli.

Yn y flwyddyn 1836, adeiladwyd y Gweithdy (*Workhouse,*) yr

hwn sydd yn ddigon helaeth i gynwys 200 o bersonau, ond fel mae goreu y modd, nid mynych y mae cynifer ynddo. Mae yn perthyn i Undeb Llanelli, yr hwn a gynwys wyth o blwyfi. Mae ysgoldŷ yn perthyn iddo, a meistres i addysgu y plant--yr ysgolfeistres bresennol yw Miss Smith. Mae yn cael ei gyfrif gan y *Poor Law Commissioners* yn un o'r Gweithdai glanaf yn y Deau. Y meistr presennol yw Mr. Richard Williams.

## PENNOD III.

### HANES Y PORTHLADD.

CYNNWYSIAD:—Hen Bysgodwyr Llanelli—Anghyfleusdra i lwytho a dadlwytho llongau—Y London Tier—Llwytho Glo Caslwchwr a Llangenech—Agoriad y Dociau—Cynydd trafnidaeth y lle—Ei masnach a gwledydd tramor.

PE cyfodai un o'r hen forwyr a hwylient i Lanelli er ys canrif yn ol, ie, ac hyd yn nod mor ddiweddar â phedwar ugain mlynedd, nid adwaenent y lle, gan fel y mae wedi cyfnewid. Nid oedd, y pryd hwnw, ond rhyw borthladd bychan disylw, heb ond ychydig iawn o longau bychain yn dyfod o fewn iddo. Y brif alwedigaeth a ddygid yn mlaen yn y lle oedd pysgota, ac yr oedd lluaws o hen bobl yn cael bywioliaeth gysurus wrth bysgota. Aent â'r pysgod i'w gwerthu i Abertawe, a phrynent y nwyddau angenrheidiol yno â'r arian, oblegid nid oedd masnachdai o un nôd yma y pryd hwnw. Yr oedd cwrwglau mewn arferiad ganddynt, er fod rhai cychod hefyd. Dilynid yr alwedigaeth gan un genedlaeth ar ol y llall. Parhäai y mab hynaf ar y môr nes y byddai farw ei dad, ac yna deuai adref, a chymmerai feddiant o'i gwrwgl neu ei gwch, fel ei unig etifeddiaeth; ac os buasai marw y mab hynaf cyn y byddai ei blant yn ddigon hen i gymeryd i fynu ei alwedigaeth, trosglwyddid hi i'r ail fab, y trydydd, &c. Y mae rhai o'r hen hiliogaeth yn parhau yn y gelfyddyd yn Llanelli hyd yn bresenol.

Nid oedd yma un doc i lwytho na dadlwytho llongau; ond ar dywydd teg elai rhai llongau bychain i fynu â llwyth o geryg calch hyd odyn y Sandy, a llwythid peth o lô Lady Mansell ger y Bont Haiarn; ond pan na fedrent fyned i fynu, dygid ef i lawr

yn agos i'r Flatts ar gefnau ceffylau a mulod, mewn cydau rhawn. Deuai llongau o gryn faintioli i'r Flatts â mŵn i Waith y Ffwrnes ar y *spring tide*, a deuai certi y ffermwyr cymmydogaethol i'w gludo i fynu o lan y traeth. Os na ellid ei ddadlwytho yn ddigon buan cyn yr aethai y *tides* yn isel, taflid ef i lawr i'r traeth; a chyn y gellid ei gario ymaith, byddai y tywod wedi cuddio ei hanner, a'r môr wedi cymmeryd ymaith lawer iawn o hono; ac y mae ugeiniau o dunelli o hono yn gyd-gymmysgedig â'r tywod gerllaw i'r Flatts hyd y dydd heddyw. Dygid y glô i ymyl y traeth mewn cydau, ar gefnau mulod, yna cymmerid y cydaid glô, a chludid ef gan ddyn ar ei gefn, ac agorai dyn arall ei enau, i'w ollwng i lawr i'r llong. Yr oeddynt yn hir iawn yn llwytho llong yn y modd trafferthus hwnw.

Angorai y llongau mwyaf gerllaw y lle a elwir yn *Flatts* yn bresennol, yr hwn a elwid y pryd hwnw yn *London Tier*, oblegid fod nifer fawr o'r llongau a lwythid yno yn myned i Lundain. Nid oedd dim i'w hamddiffyn rhag ystormydd y gorllewin, a rhedfa gref y llanw; ac weithiau byddai yn beryglus iawn arnynt. Yr oedd y camlas a redai i lawr gyda phen isaf y Wern, ac heibio yr Heolfawr, yn cludo i lawr holl lô pyllau y Wern i làn y môr. Yr oedd y camlas yn arllwys i'r môr gerllaw y man lle y saif gefail Mr. Henry Morgan. Arllwysid y glô o'r cychod gerllaw y man lle y saif y *Lord Nelson* yn bresennol, a chludid ef i lawr mewn certi i'r llongau ar y *London Tier*, lle y llwythid hwy gyda chryn lawer o drafferth.

Dygid llawer iawn o lô i lawr mewn cychod o Langenech a Chaslwchwr, i'w lwytho ar y *London Tier*. Tua'r flwyddyn 1826, daeth ager-long fechan i Gaslwchwr, ac un arall i Langenech, y rhai a dynent y cychod ar eu hol. Gyda y cychod hyn y cludid glô Cwmni Llangenech, hyd nes y gwnaed y Reilffordd yn y fl. 1829.

Fel yr oedd y Gweithfeydd yn cynnyddu, a'r drafnidaeth forwrawl yn ychwanegu, cynyddodd yr angen am Ddociau. Yn y fl. 1795, gwnaed Doc fechan gan Meistri Bowen a Roderick, yn y man y saif y Doc Ganol yn bresennol; a'r llong gyntaf a ddaeth i mewn iddi oedd un o'r enw *Castell Maldwyn*.

Yn y flwyddyn 1799, gwnaed y *Carmarthenshire Dock*, neu fel y gelwir hi yn gyffredin, Doc y Squire, gan A. Raby, ysw. Nid

efe a wnaeth y Doc fel y mae yn bresennol. Nid oedd ond un ochr iddi, a hòno oedd yr ochr ddwyreiniol. Yr oedd yn agored hollol i holl ystormydd y gorllewin. Gwnaed yr ochr orllewinol yn y flwyddyn 1813, pan ffurfiwyd y *Ballast-bank.*

Yn y flwyddyn 1804, gwnaed Doc y Gwaith Copr, gan Gwmni y Gwaith. Mae wedi ei helaethu amryw weithiau wedi hyny; ac y mae yn cael ei helaethu y flwyddyn hon. Cynnwysa *Floating Bason* ragorol, ac y mae yn le cyfleus i lwytho a dadlwytho llongau mawrion.

Yn y flwyddyn 1828, pasiwyd deddf i wneyd y *Llangenech Dock*, neu y Doc Newydd. Mae ynddi ddigon o le i gynwys tua 30 o longau, 300 o dunelli yr un, yn ol y Ddeddf. Cafodd y *channel* o'r *bason* i'r Flatts ei helaethu a'i ledaenu yn 1840, a thrachefn yn 1850.

Yn y flwyddyn 1813, pasiwyd Deddf, cyfenwad yr hon yw, "*An Act for the Improvement of the Navigation of the Rivers Bury, Loughor, and Lliedi, in the counties of Carmarthen and Glamorgan.*" Yn rhinwedd y Ddeddf hon gwnaed y *Ballast-bank* —yr hwn sydd yn ffurfio y Porthladd. Tynwyd y cynllun o hono gan Mr. Bond, tadcu R. T. Howell, ysw., a chariwyd ef allan gan J. Wedge, ysw. Buwyd o 12 i 15 mlynedd yn ei ffurfio. Yn y flwyddyn 1853, pasiwyd Deddf i wella ar yr uchod. Y mae porthladd Llanelli yn bresenol yn well nag y bu erioed. Mae llywodraeth y Porthladd yn nwylaw nifer benodol o *Commissioners.* Nid oes ond dan o'r *Commissioners* cyntefig yn fyw yn bresennol, sef, J. T. Wedge, ysw., a J. B. Williams, ysw. Moreb. Mae y porthladd yn parhau ar ei gynydd oddiar y fl. 1800; ond cyn hyny yr oedd ei drafnidaeth forwrol yn myned yn llai braidd bob blwyddyn. Rhif y llongau gliriodd allan o 1793 i 1800 sydd fel y canlyn:—1793, 478—1794, 457—1795, 509—1796, 520—1797, 411—1798, 328—1799, 381—1800, 331. O 1800 i 1830 cynyddodd y drafnidaeth forwrol yn raddol; ond nid i'r fath raddau ag o 1830 allan; oblegid yr oedd y Gweithfeydd Haiarn a Chopr yn llosgi llawer o lô yr amser hwnw, ac nid oeddid yn gosod rhyw lawer o bwys ar godi rhagor o lô nag oedd yn angenrheidiol ar y Gweithiau. O 1830 allan, mae cynydd y drafnidaeth wedi bod yn rhyfeddol, fel y dengys y gyfres ganlynol:—

| | Llongau. | Tunelli. | | Llongau. | Tunelli. |
|---|---|---|---|---|---|
| 1831 ... | 816 .. | 53844 | 1847 ... | 1764 ... | 122650 |
| 1832 ... | 976 ... | 64864 | 1848 ... | 2052 ... | 145777 |
| 1833 ... | 782 ... | 55858 | 1849 ... | 1870 ... | 125808 |
| 1834 .. | 875 ... | 63245 | „ Creeks ... | 974 ... | 41926 |
| 1835 ... | 976 ... | 69887 | 1850 ... | 1742 ... | 125832 |
| 1836 ... | 1068 ... | 80931 | „ Creeks ... | 1001 ... | 48665 |
| 1837 ... | 1224 ... | 85495 | 1851 ... | 1701 ... | 122630 |
| 1838 ... | 1305 ... | 91612 | „ Creeks ... | 1000 ... | 54894 |
| 1839 ... | 1348 ... | 95705 | 1852 ... | 1594 ... | 115054 |
| 1840 ... | 1592 ... | 115712 | „ Creeks ... | 1012 ... | 55724 |
| 1841 ... | 1360 ... | 108917 | 1853 ... | 1811 ... | 129431 |
| 1842 ... | 1770 ... | 114964 | „ Creeks ... | 999 ... | 59897 |
| 1843 ... | 1821 ... | 124893 | 1854 ... | 1833 ... | 138915 |
| 1844 ... | 2056 .... | 143479 | „ Creeks ... | 970 ... | 64810 |
| 1845 ... | 2061 ... | 149909 | 1855 ... | 1877 ... | 148353 |
| 1846 ... | 2170 ... | 166890 | „ Creeks ... | 1023 ... | 68550 |

Mae y gyfres uchod yn cynwys yr holl lô a llwythwyd yn y porthladd, y Glô a godir yn Llanelli, a'r glô a ddygir i lawr gyda Reilffordd Cwmamman. Gwelir oddiwrth y Gyfres uchod fod cynydd trafnidaeth forwrol y lle wedi bod yn fawr iawn. Yn 1831 rhif y llongau a lwythid oedd 816, yn cario 53,844 o dunelli, tra yr oedd y rhifedi yn 1855, yn 2,900, yn cario 216,903 o dunelli. Nid ydym yn credu y gall un porthladd yn Nghymru ddangos cymaint o gynydd mewn masnach mewn can lleied o amser. Mae ei mhasnach forwrol yn ymddibynu yn benaf ar ei hadnoddion.

Yn y blynyddau diweddaf dygir yn mlaen drafnidaeth helaeth iawn â Ffrainc; nid yw yn un syndod i weled deg ar hugain o longau Ffrengig yn y porthladd yr un pryd. Ac yn wir mae y lle hwn yn dibynu llawer ar Ffrainc am ei fasnach mewn copr a phlwm; yno yr â y rhan fwyaf o'r copr a'r plwm o wneir yma. Cariwyd trafnidaeth fawr rhwng y lle hwn a'r India Orllewinol am flynyddau lawer. Nid yw y drafnidaeth hono yma yn awr; ond bwriedir ei chael yn fuan eto. Mae pob argoelion y bydd i drafnidaeth forwrol y lle gynyddu yn barhaus.

---

## PENNOD IV.

### HANES CREFYDDOL Y LLE.

CYNNWYSIAD:—Sefydliad Ymneillduaeth yn Llanelli—Capeli Annibynol—Capeli y Bedyddwyr—Sefydliad y Methodistiaid Calfinaidd—Capeli y Wesleyaid—Haelioni Crefyddol y lle—Rhifedi y rhai a gyrchant i foddion gras, &c., yn 1851.—Dosraniad newydd y plwyf.

Dynodir y Cymry hyd yn nod gan genedloedd ereill, fel pobl ddefosiynol a chrefyddol iawn. Yn wir, eu crefydd yw eu prif hynodrwydd. Gwiriant y dywediad hwnw o eiddo un o'n hen feirdd, "Eu Nêr a folant." Fel yr ydym wedi sylwi yn barod, yr oedd Pabyddiaeth wedi bod yn frigog iawn yn y plwyf, a Phrotestaniaeth wedi hyny yn cael cryn lawer o ddylanwad ar y bobl. Gwnaeth Ymneillduaeth ei hymddangosiad yn Llanelli tua'r fl. 1650. Dechreuwyd pregethu gan yr Ymneillduwyr yn Cribyn Walter, ger y Felinfoel, yn y fl 1650, a buont yn addoli mewn tawelwch hyd adferiad Siarl II., yn 1660, pan gododd erlidigaeth lem arnynt. Buont yn wasgaredig, yn cyfarfod liw nos mewn manau dirgel yn y gymydogaeth. Mae llawer o fanau tuag ochr Troserch wedi eu cysegru gan eu gweddiau. Ni feiddient wneud eu hymddangosiad ger y dref, ac felly cadwent eu cyfeillachau mewn rhyw gwr pell o'r wlad. Ymffurfiasant yn Eglwys wedi hyny yn Llanedi, dan olygaeth y Parch. Stephen Hughes, Mydrim. Bobl grefyddol Llanedi, ystyriwch fod crefydd wedi ei phlanu yn mysg eich hen deidau gan yr anfarwol Stephen Hughes, seraff sir Gaerfyrddin. Arferai Annibynwyr Llanelli fyned i Lanedi i addoli am flynyddau lawer. Dechreuwyd pregethu yn Llanelli yn y fl 1770, gan Mr. Thomas, Ffosyrefail, Llandilo-fach. Ni phregethid yn fwy mynych nag unwaith bob deufis yma am gryn ddeng mlynedd. Cafwyd darn o dir i adeiladu Capel gerllaw man lle yr oedd tŷ wedi bod, a elwid Tŷ Als, a ffynon wrth ei gongl a elwid Ffynon Als; ac yn y flwyddyn 1780, adeiladwyd capel, a elwid Capel Als, yr hwn a helaethwyd yn y flwyddyn 1827; ail-helaethwyd ef yn y fl. 1830, ac helaethwyd ef y drydedd waith yn y flwyddyn 1852, ac y mae yn awr yn un o'r capeli harddaf yn Nghymru. Mae yr eglwys yn cynwys rhwng 500 a 600 o aelodau. Nid oes un eglwys yn fwy haelionus yn perthyn i'r enwad. Y gweinidogion cyntaf fu

iddi oeddynt y Parchedigion Evan Davies a Howell Williams; a'r gweinidog presennol yw y Parch. David Rees.

Yn y flwyddyn 1839, ffurfiodd ychydig o aelodau Capel Als eglwys Saesoneg yn Heol-y-Parc, Llanelli. Ei gweinidog cyntaf oedd y Parch. James James *(Iago Emlyn)* yr hwn a fu yma am yn agos i ddwy flynedd. Yn 1841, urddwyd y Parch. Thomas Roberts yn weinidog, yr hwn, wedi hyny, a symudodd i Gaerloyw. Y gweinidog presennol yw y Parch. R. Hancock.

Yn y flwyddyn 1841, ffurfiodd ychydig o aelodau Capel Als, eglwys Siloa, Glanymôr. Ei gweinidog cyntaf oedd y Parch. T. Rees. Llafuriodd yn eu plith o'r flwyddyn 1842 hyd 1849, pan symudodd i Cendl. Dilynwyd ef gan y Parch. David Davies, ac yntau mewn ychydig flyddyddau gan yParch. Thomas Davies, gynt o Lansamlet. Mae y capel wedi ei ail-adeiladu, ac agorwyd ef yn mis Mai, 1856. Mae yn gapel hardd iawn. Ymddengys fod crefydd yn llewyrchus yn eu plith.

### Y BEDYDDWYR.

Braidd nad oedd y Bedyddwyr wedi dechreu mor foreu â'r Annibynwyr. Mae yn ddiamheu mai hwy oeddynt y blaenaf yn nghymydogaeth uniongyrchol y dref. Yr ydym yn cael fod cynulleidfa o Fedyddwyr yn cyfarfod mewn tŷ anedd ger y Felin Isaf, yn y flwyddyn 1653. Yr oedd dyn o'r enw Anthony Mathews yn byw yn y Felin, ac efe oedd â 'r llaw flaenaf gyda'r achos. Bu erlid enbyd arnynt tua'r flwyddyn 1661, ac yn ystod yr amser hwnw cadwent eu cyfarfodydd yn yr Alltfawr, plwyf Llanon. Aeth amryw o honynt i'r America yn ystod yr erlidigaeth hon. Wedi hyny ymsefydlasant yn Eglwys yn y Felinfoel. Yn y flwyddyn 1773, cyfodasant gapel yn mhen isaf y dref; ond ni chedwid addoliad cyson ynddo am lawer iawn o flynyddau. Yn 1822, gwnaethant gyfnewidiad â Mr. Roberts—rhoddasant y darn tir oedd dan gapel pen isaf y dref, am y darn tir ar yr hwn y saif Capel Seion yn bresenol. Adeiladwyd Capel Seion yn 1822, ac ail-adeiladwyd ef yn 1838. Bu mewn cysylltiad â'r Felinfoel hyd y flwyddyn 1831, pan gorffolwyd hi yn eglwys ar ei phen ei hun. Ei gweinidog cyntaf oedd y Parch. David Bowen, ac urddwyd y Parch. James Spencer yn gyd-weinidog ag ef rai blynyddau gwedi ei hymgorffoliad. Ei gweinidog presennol yw y Parch. J. R. Morgan *(Lleurwg.)* Mae yn eglwys gyfoethog, ac yn cynwys rhwng 300 a 400 o aelodau. Y mae

Capel bychan yn perthyn i Seion yn Nghwmbach, yn yr hwn y cynnelir Ysgol Sabbothol, ac y pregethir yn lled fynych. Bwriada y Bedyddwyr sefydlu Eglwys Saesnig yn Llanelli yn fuan.

Yn 1840, ffurfiwyd Eglwys Bethel, Glanymôr. Adeiladwyd y capel y flwyddyn hòno, a chafodd ei helaethu yn 1850. Y gweinidog yw y Parch. W. Hughes, yr hwn sydd yn llafurio yn eu plith er ys ddeuddeg mlynedd. Mae y capel yn cael ei adgyweirio y flwyddyn hon, (1856.) Mae yr eglwys mewn sefyllfa dra blodeuog. Rhifa yr aelodau rhwng 300 a 400.

## Y METHODISTIAID CALFINAIDD.

Dechreuwyd achos y Methodistiaid Calfinaidd yn y lle hwn mewn dull hynod iawn. Yr oedd Mr. Jones, Llangan, yn pregethu yn lled fynych yn y Goppa-fach. Yr oedd y son am dano mor glodfawr, fel yr oedd lluoedd yn tyru ar ei ol. Un Sabboth cymundeb, aeth dau o aelodau y Bedyddwyr yn y Felinfoel i'w wrando ar ol y cwrdd boreuol, yn lle aros i'r cymundeb yn y prydnawn. Yr oedd ganddynt o wyth i naw milldir o ffordd. Am yr afreolaeth yma galwyd hwy i gyfrif, yr hyn a achlysurodd eu hymadawiad o'r Felinfoel, ac unasant â'r Methodistiaid yn y Goppa-fach. Enw un oedd Walter Bowen, dilladydd a masnachydd (tad y diweddar Barch. John Bowen,) ac enw y llall oedd Henry Rees, tyddynwr, (tad Mr. William Rees, Cilfig Cottage.) Ychydig wedi hyny, ymffurfiasa ntyn eglwys mewn tŷ anedd yn y dref. Cyfarfyddent yn nhŷ hen ferch weddw o'r enw Martha, a gelwid yr ymgynulliad yn *Society Martha.* Dechreuwyd pregethu yma yn y flwyddyn 1786 ,mewn tŷ yn y dref a elwid Gellion, ger Culheol. Bu yr aelodau yn myned i gymuno am flynyddau i Gapel Llanlluan a'r Goppa-fach. Ond o'r diwedd llwyddasant i gael y cymundeb i Gellion, a Mr. Davis, Cynwyl, fu yn gweini yr ordinhad yno gyntaf. Yn Gellion y cynhaliwyd yr Ysgol Sabbothol gyntaf yn Llanelli.

Aeth Gellion yn rhy fach yn fuan; ac yn y flwyddyn 1809 adeiladwyd capel bychan yn y man y saif y capel presenol, ac adgyweiriwyd ef yn y flwyddyn 1821. Cynyddodd yr eglwys, a lluosogodd y gynulleidfa yn fawr, fel y teimlid angen am gapel ëangach. Felly, yn y flwyddyn 1840, adeiladwyd y capel presennol, yr hwn a gostiodd £1,600; ac er anrhydedd iddynt, nid oes dim o'r ddyled yn aros. Rhifa yr aelodau dros 300. Y

flwyddyn hon maent wedi dechreu adeiladu Capel tlws gerllaw Safle Reilffordd Deheudir Cymru. Mae cangeu-ysgol perthynol i'r Methodistiaid gerllaw y Ffwrnes, yr hon sydd yn llewyrchus iawn.

Y WESLEYAID.

Dechreuwyd achos y Wesleyaid Saesoneg yma tua'r flwyddyn 1793, ac y mae wedi cynyddu llawer wedi hyny. Bu yr achos Cymreig yn isel iawn drwy y blynyddau; ond y mae wedi adfywio ychydig yn ddiweddar. Mae y Wesleyaid Saesoneg newydd orphen adeiladu capel ysblenydd yn y *Gothic style*, yr hwn a agorwyd yn mis Mai, 1856; costiodd oddeutu £1,500, ac nid oes ond £300 o ddyled yn aros arno yn bresennol. Mae y Cymry wedi prynu hen gapel y Saeson, ac y maent wedi dechreu cynal eu haddoliad ynddo er dechreu Mehefin, ac hyderwn y bydd iddynt fyned yn mlaen yn fwy llewyrchus nag yn y blynyddau diweddaf.

Mae Llanelli yn ddiarebol am ei haelioni crefyddol. Efallai nad oes un gymydogaeth yn Nghymru yn cynwys y fath rifedi mawr o'r dosbeirth gweithgar, mor haelionus at bethau crefyddol. Mae y trigolion wedi eu dysgu i gyfranu fel y mae yr Arglwydd yn eu llwyddo. Byth nac ymadawed yr ysbryd haelionus a defosiynol hwn â thref Llanelli.

Yn ol y cyfrifiad diweddaf a wnawd, sef yn y flwyddyn 1851, rhifedi y personau oeddynt yn addoli yn Eglwysi y dref, oedd 1313, a rhifedi y rhai a addolent yn y Capeli Ymneillduaidd oedd 6923. Yr oedd hyn yn rhifedi mawr iawn mewn cyferbyniad i rif y trigolion.

Yn 1848, rhanwyd y plwyf o newydd, i ddybenion eglwysig. Ffurfiwyd *District* newydd; adeiladwyd eglwys a phersondŷ yn 1849, yr hon a elwir St. Paul's, ac a waddolwyd gan y Dirprwywyr Eglwysig. Mae *District* St. Paul's yn cynnwys rhan o Faenor y Westfa. Poblogaeth y *District* yn 1851 oedd 3056, o'r rhai yr oedd 77 yn Westfa. Offeiriad St. Paul's ydyw y Parch. David Edward Williams, a chynhelir un gwasanaeth Cymraeg a dau Saesoneg bob Sabbath.

Adnewyddwyd Eglwys y Plwyf yn y flwyddyn 1849, ac y mae yn Eglwys hardd i'w ryfeddu. Y Ficar presenol ydyw y Parch. Ebenezer Morris, a'r Curad yw y Parch. D. M. Rees.

# PENNOD V.

## SEFYDLIADAU Y LLE, YNGHYD A'I GYNYDD A'I RAGOLYGON.

CYNWYSIAD:—Sefydliadau y lle—Y Mechanics' Institution—Ysgolion—Banc Cynilo—Baddonau — Cynydd y lle mewn tai, trigolion, &c. — Rhifedi y Genedigaethau a'r Marwolaethau—Rhifedi yr etholwyr—Rhagolygon y lle.

Mae rhyw wmredd o sefydliadau elusengar yn Llanelli. Nid ydym yn credu fod un dref yn Nghymru o'i maint yn cynwys cynifer. Mae yn ail i wyrth cyfarfod ag un dyn yn y plwyf nad yw yn perthyn i un o honynt. Mae hyn yn dweyd llawer am duedd darbodol y trigolion. Mae Cyfrinfaoedd lluosog iawn gan yr Odyddion a'r Iforiaid. Ond i fyned heibio y Cymdeithasau uchod, sylwn ar Gymdeithasau celfyddydol ac addysgiadol y lle.

Mae aelodau y *Mechanics' Institution* hyd yma yn cynal eu cyfarfodydd yn yr ysgoldŷ sydd mewn cysylltiad â Chapel Heol-y-Parc. Mae mewn bodolaeth er ys tua deng mlynedd. Y mae llyfrgell ëang yn dal cysylltiad â'r sefydliad, ac y mae cyfle bob wythnos i gyfnewid y llyfrau a gymmerir allan gan yr aelodau. Traddodir darlithiau gan rai o'r pwyllgor, neu ddarlithwyr cyflogedig, bob pythefnos yn ystod misoedd y gauaf. Gwneir y pwyllgor i fynu o brif foneddigion y dref. Y llywydd presenol yw W. H. Nevill, ysw., yr ysgrifenyddion mygedawl ydynt y Meistri Roderick a Howell, a'r Llyfrgellydd yw Mr. Griffith Jones. Mae Cymdeithas Ddadleuyddol yn dal perthynas â'r sefydliad, yr hon a ddygir yn mlaen mewn dull hollol foneddigaidd. Symudir y sefydliad i'r *Athenæum* mor fuan ag y byddo yn barod. Bydd yr adeilad hwnw yn addurn i'r dref, ac yn glod mawr i'r boneddigion sydd â'r llaw flaenaf yn ei adeiladaeth. Teimlid angen ystafell gyfleus yma i gynnal cyfarfodydd cyhoeddus, megys darlithiau a chyngherddau. Mae ystafell ëang yn yr *Athenæum* yn cael ei gwneyd er cyflenwi y diffyg hwn; a bydd yr *Athenæum* yn fath o *Exeter Hall* i'r holl enwadau crefyddol, a'r boblogaeth yn gyffredinol. Bydd yn gaffaeliad mawr i'r dref a'r ardal. Gobeithio y bydd i'r holl enwadau werthfawrogi y cyfle a gynygir iddynt, fel na byddo i deimladau neb gael eu dolurio wrth gynal cyngherddau ac areithiau yn nhŷ yr Arglwydd.

Mae darllenfa gyfleus mewn cysylltiaid â Foundry a Gwaith Haiarn R. Nevill, Ysw., ar y Wern, ac un arall yn dal perthynas â Gweithiau Alcan y Dafen a'r Morfa. Ca y gweithiwr fantais i wybod holl Newyddion y Wladwriaeth, a hyny yn lled rad. Mae y Meistri haelionus hyn yn ystyried mai y ffordd briodol i ddyrchafu dyn yw ei addysgu yn briodol.

Mae Ysgol Normalaidd ragorol yn y dref, y bechgyn dan olygiaeth Mr. Joseph Barnecutt, a'r merched dan olygiaeth Miss Scott. Maent eill dau wedi enill *Certificates* y Llywodraeth. Cynwysa, rhwng y bechgyn a'r merched, rhwng pedwar a phum cant o blant. Yr oedd yr ysgol yn cael ei chario yn mlaen ar y cyntaf ar yr egwyddor wirfoddol, a pharhaodd yn llewyrchus am gryn amser; ond galarus yw dweyd, llacâodd cyfeillion addysg rydd yn eu cyfraniadau, a gorfodwyd y Pwyllgor, yn erbyn ei ewyllys braidd, i droi at y Llywodraeth i ymofyn am gymhorth, yn hytrach nâ gadael i'r sefydliad fyned dan warth. Mae yn awr yn myned dan arholiad Goruchwylwyr y Llywodraeth bob blwyddyn. Yn yr arholiad diweddaf, enillodd yr ysgolfeistr a'r ysgolfeistres enw da iddynt eu hunain, drwy fod y *Pupil Teachers* yn myned trwy eu harholiad yn anrhydeddus. Mae yr ysgol wedi ei dyrchafu yn uchel yn ngolwg y dref a'r wlad. Llywodraethir hi gan bwyllgor o foneddigion parchusaf y dref.

Mae Ysgol lewyrchus hefyd yn yr Heolfawr, dan olygiaeth Mr. David Williams a Miss Furnace. Mae Mr. Williams hefyd wedi enill *Certificate* y Llywodraeth, a'i Ysgol yn myned dan arholiad Goruchwylwyr y Llywodraeth bob blwyddyn. Mae yr Ysgol hon yn dal cysylltiad â Gweithfeydd Meistri Sims, Willyams, Nevill, a'u Cwmni, ac yn lluosog iawn. Mae ysgolheigion a *Phupil Teachers* Mr. Williams yn dwyn clod iddo yn mhob arholiad a'i ysgol yn uchel ei bri.

Mae yma Ysgol Fabanod (*Infant School*) yn cael ei chynal yn *Prospect-Place*, ac y mae cynnulliad mawr iddi. Mae dan olygiaeth Miss Dovey, ac yn cael ei llywodraethu gan bwyllgor o foneddigion a boneddigesau y dref.

Mae Bank Cynilo (*Savings Bank*), yn cael ei gynal bob dydd Iau, yn nhŷ Mr. Hopkin Bevan, Heol-y-Parc, yr hwn yw yr ysgrifenydd. Sefydlwyd ef yn y fl. 1847. Yn y cyfrif a wnaed

yn mis Tachwedd diweddaf, yr oeddid wedi talu i fewn y swm o £7,778 10s. yn ystod y flwyddyn; mae yn llwyddianus iawn, ac y mae dros £1,000 ynddo yn awr. Y Trysorydd hyd ei farwolaeth oedd y diweddar R. J. Nevill, Ysw. Bwriedir adeiladu tŷ rhagorol i'w gynal ynddo yn fuan, yr hwn sydd i fod fel cof-golofn i'r diweddar R. J. Nevill, Ysw. Y Trysorydd presenol yw W. H. Nevill, Ysw.

Mae Baddonau ardderchog ar gael eu hadeiladu, ac agorir hwy i'r cyhoedd yn fuan. Safant gerllaw Ysgoldŷ Llanelli. Adeiladwyd hwy gan William Chambers, Ysw., a byddant yn ychwanegiad mawr at ardderchogrwydd y lle. Maent yn sicr o dueddu er iechyd a llesiant pawb a ymwnant â hwy.

Mae cynydd y lle wedi bod yn gyflym iawn. Yn y fl. 1780, nid oedd yn y Fwrdeisdref ychwaneg na 140 o dai, ac oddeutu 900 o drigolion. Ni fu dim cynydd mewn tai, nac ond ychydig mewn poblogaeth, o'r fl. 1700 hyd 1801. Y tŷ cyntaf ychwanegwyd at y lle ydoedd y tŷ sydd yn nesaf i Gapel y Wesleyaid. Adeiladwyd ef yn 1801, gan un Walter Bowen. Bu y cynydd yn hynod o gyflym o 1801 hyd 1831. O 1850 i 1856 mae y cynydd fel y canlyn:—Rhif y tai yn 1850 oedd 1552, tra maent yn awr yn 1950.

Yr oedd y boblogaeth, wrth reswm, yn cynyddu gyda'r un cyflymder.

| Poblogaeth y fwrdeisdref,— | 1801, | 1811, | 1821, | 1831, | 1841, | 1851 |
|---|---|---|---|---|---|---|
| | Dim cyfrif, | eto | 2621, | 4173, | 7123, | 8566 |

Mae cynydd y Fwrdeisdref er 1851 wedi bod yn fawr iawn, ac y mae yn ddiamheu genym fod poblogaeth y Fwrdeisdref yn 12,000 yn bresenol.

Mae poblogaeth y plwyf wedi cynyddu fel y canlyn:—

| Poblogaeth y plwyf yn | 1801 | 1831 | 1841 | 1851 |
|---|---|---|---|---|
| Ydoedd | 2,072 | 7,646 | 11,165 | 13,516 |

Mae y plwyf wedi cynyddu i'r un graddau a'r Fwrdeisdref. Wele yn canlyn gyfres gyhoeddedig y *Registrar-General* o boblogaeth Maenorau Llanelli yn y flwyddyn 1851, ynghyd â chynydd y plwyf o 1841 i 1851:—

| | Males. | Females | Total in 1851. | Total of each Parish in 1841. | Incrs. |
|---|---|---|---|---|---|
| Llanelly, Borough Hamlet | 4182 | 4384 | 8556 | .. | ... |
| Do. Westfa do. | 566 | 525 | 1091 | ... | ... |
| Do. Hengoed do. | 742 | 742 | 1484 | ... | ... |
| Do. Berwick do. | 766 | 749 | 1515 | ... | ... |
| Do. Glyn do. | 401 | 549 | 860 | ... | ... |
| Total of Llanelly............ | 6657 | 6859 | 13516 | 11165 | 2351 |

Gwelir oddiwrth y daflen uchod fod y cynydd mewn 10 mlynedd, o 1841 i 1851, yn 2351.

Yn y fl. 1776, swm y tâl tylodi a gesglid yn y flwyddyn oedd £32 13s. Yn 1803, yr oedd wedi ychwanegu i £688. Yn 1848 yr oedd yn £1,829. Yn 1855, yr oedd yn £1,828, sef llai o £1 na 1848. Mae trethi Llanelli yn llai nag un plwyf cymydogaethol.

Rhifedi yr Etholwyr *(Voters)* yn y Fwrdeisdref yn y flwyddyn 1832 oedd 125, ac yn 1837, 168, tra yr oeddynt yn 1855 yn 190.

Dengys y gyfres ganlynol nifer y Genedigaethau a'r Marwolaethau, ynghyd â'r achosion o'r Marwolaethau, yn y *Llanelly District* o'r flwyddyn 1837 hyd 1849 :—

| | 1837 to 1838 | 1838 to 1839 | 1839 to 1840 | 1840 to 1841 | 1841 to 1842 | 1842 to 1843 | 1843 to 1844 | 1844 to 1845 | 1845 to 1846 | 1846 to 1847 | 1847 to 1848 | 1848 to 1849 | Total. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Births . . | | | 355 | 367 | 389 | 408 | 409 | 371 | 410 | 395 | 373 | 399 | 3876 |
| Deaths . . | 156 | 189 | 188 | 214 | 179 | 205 | 155 | 196 | 262 | 218 | 221 | 145 | 2328 |
| Consumption | 37 | 16 | 24 | 25 | 16 | 22 | 21 | 33 | 20 | 23 | 28 | 25 | 290 |
| TyphusFever | | | 2 | 3 | | 2 | 1 | | 5 | 5 | 3 | 2 | 23 |
| Contin. Fever | 27 | 20 | 17 | 14 | 25 | 7 | 7 | 11 | 9 | 14 | 13 | 6 | 170 |
| Remit. Fever | 2 | | 1 | 6 | | 4 | | 6 | 11 | 6 | 4 | 2 | 42 |
| Scrofula . . | | | 1 | 1 | 6 | 2 | 3 | 3 | 2 | 4 | 3 | 2 | 27 |
| Marasmus . | | 8 | 15 | 19 | 13 | 17 | 8 | 13 | 9 | 7 | 10 | 6 | 125 |

Yn ol y daflen ganlynol dangosir nifer y Genedigaethau a'r Marwolaethau o'r 1af o Ebrill, 1843, hyd y 31ain o Fawrth, 1849 :—

| | BIRTHS. | | | | | | | Gross Total for the Seven Years. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| | 1843 | 1844 | 1845 | 1846 | 1847 | 1848 | 1849 | |
| June................ | 84 | 76 | 79 | 80 | 75 | 83 | 81 | 558 |
| September ......... | 60 | 67 | 63 | 73 | 79 | 63 | 82 | 487 |
| December ......... | 75 | 67 | 71 | 85 | 57 | 55 | 64 | 474 |
| March .............. | 89 | 98 | 75 | 82 | 81 | 74 | 75 | 574 |
| Total for the year | 308 | 308 | 288 | 320 | 292 | 275 | 302 | 2093 |
| | DEATHS. | | | | | | | |
| June................ | 21 | 31 | 29 | 45 | 57 | 67 | 35 | 285 |
| September ......... | 31 | 38 | 31 | 43 | 25 | 41 | 26 | 235 |
| December ......... | 46 | 36 | 38 | 53 | 45 | 43 | 23 | 284 |
| March .............. | 54 | 37 | 39 | 56 | 42 | 51 | 36 | 315 |
| Total for the year | 152 | 142 | 137 | 197 | 169 | 202 | 129 | 1119 |
| Increase of Births on Deaths each year | 156 | 166 | 151 | 123 | 123 | 73 | 182 | 974 |
| Increase of Births over the Deaths from July, 1841, to March, 1842, say, ...................... .................. | | | | | | | | 90 |
| Total.............................. | | | | | | | | 1064 |

Yn y fl. 1852, yr oedd y genedigaethau yn 434, a'r Marwolaethau yn 239.

## RHAGOLYGON Y LLE.

Nis gellir archwilio cymydogaeth Llanelli, heb ganfod ar unwaith fod natur megys wedi gwastraffu ei thrysorau tan-ddaearol iddi, a bod dyn, trwy ei ddyfeisgarwch a'i ymdrechion, wedi eu troi i fantais. Mae yr holl wlad oddiamgylch wedi ei chyfoethogi â mŵnau gwerthfawr; ac yn mha gyfeiriad bynag yr edrychom, cafnyddwn weithfeydd mawrion a simneiau uchel yn saethu mŵg yn golofnau tewion i'r cymylau. Ar y gwastadedd gerllaw y môr, gwelir un o'r Gweithfeydd Copr mwyaf yn Nghymru, ac

heb fod yn mhell oddiwrtho gwelir Gwaith Arian a Phlwm. Yn yr un gymydogaeth gwelir hwylbrenau dyrchafedig y llongau fel cynifer o elltydd o goed yn y gwahanol nofleoedd, a'r rhai hyny yn cynwys rhai yn perthyn i bob cenedl yn Ewrop. Canfyddir y cerbyd-resi galluog yn orlwythog o fŵnau gwerthfawr y gymyd, ogaeth, a'r llongau mawrion yn cario allan filoedd o dunelli o hono i wledydd ereill. Os edrychir ychydig i'r wlad, canfyddir pyllau glô yn afrifed, ynghyd â gweithfeydd lluosog ereill; mewn gair, mae y lle yn fywyd i gyd.

Gyda golwg ar ragolygon y lle, maent yn amrywiol a lluosog. Mae y fath gyflawnder o Lô yn y gymydogaeth fel nad yw yn debyg y gweithir ef allan am flynyddau lawer. Dywedir fod Cawg Glo Deheudir Cymru yn cynwys 420 o haenau o Lô, ac y mae Llanelli ar ganol y Cawg hwnw. Nid oes ychwaneg nâ 8 o'r Gwythieni hyn wedi eu gweithio etto. Rhwng yr holl weithfeydd Glo sydd yn y plwyf, mae ychwaneg nâ 1,200 o dunelli o Lô yn cael ei godi bob dydd, gan fod 700 o dunelli yn cael eu codi gan Gwmni y Gwaith Copr yn unig. Yn ol y cyfrifiad hwn, gweithir 374,400 o dunelli yn flynyddol. Mae hyn yn garnedd ddychrynllyd o Lô; ond y mae yma ddigon i weithio yn ol yr un cyfartaledd am ganrifoedd lawer.

Mae cryn siarad yn bresenol am gael cangen o Reilffordd Deheudir Cymru i'r *Carmarthenshire Dock*, a gwneud Llanelli yn borthladd i lwytho Glo Mr. Stanley o Gaergynydd, Morganwg, yn nghyd â Glo amryw byllau ereill yn Morganwg. Os cymer hyn le, fel y mae yn eithaf tebyg, bydd yn ychwanegiad mawr at drafnidaeth forwrol y lle.

Mae Reilffordd Llanelli a Llandilo yn uno Llanelli â Chwmaman, Cross Inn, &c., y rhai a ddanfonant eu holl gynyrch ymaith drwy Llanelli. Yn wir, mae y rhan fwyaf o'r drafnidaeth a ddygir yn mlaen yn y Nofle Newydd yn dal cysylltiad â'r lleoedd uchod. Mae y Reilffordd y flwyddyn hon yn cael ei gwneud yn mlaen hyd Llandilo, lle daw i gyfarfod â Reilffordd Dyffryn Towy, yr hon sydd bron yn barod. Bydd yn sicr o ychwanegu llawer at drafnidaeth Llanelli, oblegid danfonir holl fŵn plwm Rhandirmwyn lawr ganddi. Bydd yn gyfleus iawn yn yr haf i gludo lluoedd i dyfroedd iachusol Llanwrtyd a Llandrindod.

Hefyd, mae y Gweithfeydd lluosog sydd yn y gymydogaeth yn sicrhau llwyddiant y lle. Yn ystod y pymtheg mlynedd diweddaf

mae dau Waith Alcan wedi eu sefydlu yma, a Gweithiau Plwm ac Arian; ac y mae pob un o honynt yn cael eu hychwanegu yn gyson. Mae yma ddwy *Foundry* ardderchog, y rhai sydd yn parhaus gynyddu, ac yn troi allan gystal peirianwaith ag unrhyw *Foundries* yn Lloegr. Mae y gymydogaeth wedi ei chyfaddasu gan natur fel safle Gweithfeydd. Digon tebyg, mewn ychydig flynyddau eto, y bydd Gweithfeydd newyddion yn britho y Morfamawr fel y maent yn bresenol yn cuddio yr hen Forfabychan.

Mae y Dref, y Wern, a Glanymôr, yn fath o dri lle ar wahan; ond y maent yn prysur nesâu at eu gilydd; ac os eir yn mlaen am ychydig flynyddau gyda'r un cyflymder ag yn bresenol, bydd y tri lle yn ffurfio un dref aruthrol ei mhaint. Yn wir, yr ydym ni o'r farn, er buaned mae Llanelli wedi cynyddu, ei bod i gynyddu gyda chyflymder llawer mwy etto.

Wrth derfynu, dymunem bob llwyddiant i dref Llanelli. Mae yn uchel mewn anrhydedd yn bresenol. Hir y parhao ei gogoniant, a maged luoedd o feibion talentog fyddont yn dysgleirio yn ffurfafen gwybodaeth a llenoriaeth. Yn ol yr arwyddion presenol, bydd Llanelli yn fuan yn un o'r lleoedd mwyaf pwysig mewn cysylltiad â masnach Deheudir Cymru.

BRODOR.

---

# PRYDDEST

AR

# ELIAS AR BEN CARMEL.

---

GAN MISS MARGARET DAVIES, ABERTEIFI,

---

### RHAN I.—Y RHAGARWEINIAD.

Mi dröaf fy ngwyneb i'r parthau Dwyreiniol,—
Tyr'd genyf, fy Awen, cei fwyniant rhagorol,
I wlad Palestina—gwlad anwyl fydd hòno
Tra haul y ffurfafen, tra afon yn llifo.
A¡! heulwen a ddua, a syrth fel ffigysen,
Afonydd a sychant pan lysg y ddaearen;
Ond gwiw Balestina mewn bri bydd ei henw
Tra pery'r bytholfyd—a dywed hŷd hwnw!
Melyswaith trigolion y nefol breswylfa
Fydd syllu ar Ganaan, cartrefle'r Messia;
Lle'i ganwyd, lle teithiodd, lle trengodd, er cadw
Trueiniaid cwymp Eden rhag gwae yr ail-farw.
O wych Balestina! mae ynot fynyddoedd
Mil myrdd gwerthfawrocach nâ'r gwerthfawr aurgelloedd.
Cawn Iesu'n pregethu'r waith gyntaf ar fynydd,
A'i wedd ar un arall a'n gwna ni yn ddedwydd;
Ar fryn yr Olewydd y gweddia yn fynych;
A! hefyd, esgyna fry, fry uwch yr entrych,
Mewn cerbyd angylaidd, mewn bri a gorwychder,
Y tanllyd gerubiaid yn rhwygo'r uchelder,
Er rhoddi derbyniad groesawus i'w Brenin,
Yr hynod Orchfygwr, a driniwyd mor erwin!
Ond cyn mwynhau'r olaf rhaid dringo Calfaria,
I weled y Cyfiawn diniwed mewn dalfa,
Yn gwaedu, yn marw, ond diolch ca'wd 'Gorphenwyd,'
Enillwyd y goncwest—Calfaria enwogwyd!

Ond 'nawr rhaid heneiddio rhyw naw o ganrifoedd,
Er gweled rhyfelgyrch mawr Baal a Duw'r nefoedd,
Ac hefyd tramwyo drwy holl wlad Samaria,—
Gwel, acw'r man pellaf, ar fin Galilea,
I'r môr ymestyna mynyddoedd neu fryniau,
Adwaenir wrth Carmel, gan amlder ei ffrwythau;
I'r uwchaf o honynt mae'n amlwg rhaid dringo,
Waith yma, yn addas, ca'r ornest ei brwydro;
Y cwr de-ddwyreiniol, uwchben afon Cison,
Yn ngolwg gwastadedd mawr ëang Asdraelon,
Man yma, i'r bobloedd, bydd graddol ddisgynfa;
Ac hefyd, yn ddiau, bydd amlwg 'r olygfa
O fryniau Samaria, Gilboa. Yn ebrwydd
Canfydda holl Israel pwy ydyw yr Arglwydd.
Ond aros, gwel acw, mewn modd dirmygedig,
Hen brophwyd yn dyfod, a diau'n lluddedig;
Ni fedda asynyn na mulyn i'w gario,
Ac nid oes yn Israel wna wrtho dosturio.
Ei fantell sydd lymaidd, a chroen yw y gwregys
O amgylch ei lwynau—rhyw fawredd anhysbys,
Er hyny, belydra o'i dreiddgar edrychiad,
Ei dalcen mawreddog, a'r oll o'i agweddiad,
Edrycha i'r wybren—mae'n siriol, heb gwmwl,
A'r haul yn dysgleirio heb orchudd un nifwl.
Ond och! wele agwedd y ddae'r yn llewygu—
A fel pe yn gwaeddu, 'Dyferyn cyn trengu!'
Y nefoedd a glöwyd dair blynedd a hanner,
Ni sugnodd, ni wlawiodd un defnyn o'r dyfnder,
Ni welir blodeuyn, na deilen, ond olion
Fel dyry y lludw am dân rhyw adgofion.
Edrycha o amgylch am wên, nid oes arwydd—
Y plant, sydd â'u tuedd o hyd at lawenydd,
A grïant yn ddibaid, a'r newyn yn rhwygo
Eu bronau diniwed--mae llawer yn syrthio!
"Elias, Elias, mor fawr yw dy bechod!
Oes bellach un gobaith i'th ddigter i ddarfod?"
Ha! felly'r erlidir a saif dros gyfiawnder,
Ca'r euog lonyddwch, ac yntau orthrymder.

Ond wele cyferfydd â'r mwyn Obadiah,
Gwas ffyddlawn i Ahab, ond mwy i Jehofa;
Càn wr o brophwydi yr ARGLWYDD a guddiai,
Pan geisiai gwraig Ahab eu lladd oll, pe gallai.

OBADIAH.

"Ai ti yw fy arglwydd Elias—a fethais?"

ELIAS.

"Myfi yw Elias, at Ahab y brysiais,
Dos, dywed di wrtho fy mod i yn dyfod,
Os yw am fy ngweled, i dd'od i'm cyfarfod."

OBADIAH.

"O! 'm Harglwydd fu'n chwilio am danat drwy'r gwledydd,
Am ddifa dy einioes yr ydoedd ef beunydd;
Ond ARGLWYDD y lluoedd oedd i ti yn nodded,
Pan geisiai y brenin dy waed di i'w yfed;
I ti yr oedd Cerith a'i ffrydiau tryloyw,
Wrth hòno, er henaint, y rhodiaist yn hoyw;
Gan gael dy ddiwallu, brydnawn a boreuddydd,
Gan gigfrain, â bara a chig, er eu hawydd.
Ac eilwaith, 'mhen blwyddyn, pan Cerith a sychodd,
A thithau mewn gwasgfa, efe a ddarparodd
It' le na feddyliai neb arall am dano;
Ni allai cyfrwysdra Jesebel fyn'd yno
At weddw helbulus Sarepta estronol—
I'w chael yn ffyddlonach i'r ARGLWYDD nâ'i bobol;
Hon gredodd ei eiriau, heb unrhyw betrusder,
Diwallai yn gyntaf dy angen, o'i phrinder;
A'r ARGLWYDD ofalai it' gael ei gwobrwyo,
Y dyrnaid blawd erys, mae'r olew heb dreulio;
Er porthi y teulu ddwy flynedd a hanner,
Mae etto yn aros yr unrhyw gyflawnder.
Ond cefaist wneyd rhagor, o lawer, nâ hyna:—
Os marw wna'r plentyn, ei fam ni feddylia
Am iddo adfywio—er cymaint ei chariad,
Ei hunig ymwared yw gollwng ei hoernad.

I fachgen y weddw dychwelaist ei fywyd—
O weithred! ei thebyg erioed ni chanfyddwyd!
Ac etto dywedi, 'Mynega fy nyfod,'
A thithau yn gwybod na oddef y Duwdod
Dy roddi yn nwylaw dy elyn; ac yntau
Yn chwilio am danat, i'th dòri yn ddarnau.
Ni roddodd ef etto yr ymdrech i fyny,
Ei ffyddlawn genadau 'ynt ymaith hyd heddy';
Pan gyneu y gwylltiai am laswellt, er cadw
Ceffylau a mulod (pe pob peth yn marw,)
A meddwl y cawsid ychydig, ysgatfydd,
Ond chwilio ar lanau afonydd a nentydd;
Ni feddai ef gartref un gwr a anfonai,
Rhaid myned o'r Brenin ei hunan a minnau.
Dywedi, 'Dychwela,' caf brofi yr effaith,
Waith Ysbryd yr ARGLWYDD a'th gipia di ymaith,
A minnau i Ahab yn aberth cynddaredd,
Attolwg, na ddyro was llai i ddialedd;
Yn ofni yr ARGLWYDD yr ydwyf, fel tithau,
Ei weision achubais, O'm bywyd i minau!"

ELIAS.

"Paham y gwrthodi gael rhan o'r anrhydedd?
Fel mai byw yr Arglwydd, mi fyn ei glodforedd;
Gan hyny, nac ofna, rhag Ahab ni chiliaf,
Cyn gostwng haul heddyw mi a ymddangosaf."

Yn awr mae yn brysio. Mae Ahab yn dyfod;
Elias, mor dawel sydd yn ei gyfarfod—
Pa fodd na ddychryna? ei olwg sydd ddigon
I beri rhyw loesion i eigion ei galon!
Hawdd ydyw meddiannu ei hunan, tra'n gwybod
Fod ganddo i'w gynnal y gallu diddarfod.

AHAB.

"Ai ti yw y gelyn sy'n blino plant Israel?"

ELIAS.

"Tydi a dy dylwyth, nid fi, bia'r ymrafael."

AHAB.

"Tydi a ddywedodd it' gael gan yr ARGLWYDD
Awdurdod i roddi a rhwystro gwlawogydd."

ELIAS.

"Ti barodd i Israel ro'i heibio addoli
Eu Crëwr, Cynnaliwr, eu Tŵr mewn caledi,
A'u gwneyd yn ynfydion i syrthio ger Baalim,
Gan wneuthur eu rheswm, serch crefydd, yn ddiddim!
Gwnaet iddynt ymddiried mewn duwiau gwaith dwylaw,
Gan wrthod yr ARGLWYDD a allai eu gwrandaw!
Ac etto, er gweled na thycia hi felly,
Ni fynwch ddychwelyd, er cymmaint eich tlodi.
Ai rhagot mewn pechod, gan daflu y cyfan
Ar enaid dieuog, tra'r euog yw'th hunan.
Ond gwn na wnai gredu fy ngeiriau, cei brofion—
Ti bia'r awdurdod, attolwg, 'nawr anfon
I gasglu holl Israel, ac hefyd prophwydi
Y Baal a addolwch—y rhai yn y llwyni,
(I'r rhai y coginir yn nghegin Jesebel,)
A'r rhai sydd ar wasgar drwy'r gwledydd—i Carmel;
Pan ddeuant i fyny, ar unrhyw ddiwrnod,
A galw am danaf, mi fyddaf yn barod.
Cei wyth-cant a hanner, at un o brophwydi—
Cei weled pwy bechodd, a phwy i'w addoli."

AHAB.

"Yn ol dy air bydded, â'th gais y cydsyniaf,
I'r oll o'm breniniaeth ar frys ysgrifenaf.
Dos di, Obadiah, a dewis genadau
O blith y dinaswyr, yn feibion a thadau."

OBADIAH.

"Yn barod yr ydwyf i wneyd dy ewyllys,
Hiraethaf am achos y newyn yn hysbys."

YR AIL RAN—YR ORNEST.

AHAB.

"Elias, b'le'r ydwyt? 'Ym weithian yn barod."

ELIAS.

"A ddaeth a orch'mynais ynghyd i'r cyfarfod?"

AHAB.

"Prophwydi y llwyni a gadwodd Jesebel,
Ni theimlent un awydd i ddyfod i'r rhyfel."

Elias a deimla, wrth weled y dyrfa,
Mae'n syrthio i'r ddaear, gan waeddi, mewn gwasgfa,—
"O ARGLWYDD, plant Israel, hoff feibion y tadau,
Y genedl ddewisol—yn filoedd o ddegau,—
Y rhai a fendithiaist i'w gwneuthur yn fendith
I bobloedd y ddaear---sydd yma dan felldith!
Tosturia, tosturia, tro heibio'u hanwiredd;
Er cymmaint eu pechod, rho iddynt drugaredd!"
"Ust! cyfod," attebir, "Paham y cwynfani?
Dos di at y gorchwyl, ymdrecha eu plygu.
Ai dysgwyl yr ydwyt im' dywallt fy ffafrau
Ar ddynion a roddant fy moliant i ddelwau?
Gwir yw, mai fy enw yw, 'Graslawn, Trugarog,
Jehofa, hwyrfrydig i ymddwyn yn llidiog;'
Cyn wired â hyny, wyf Dduw eiddigeddus---
Na roddaf fy moliant i arall sydd hysbys."

ELIAS.

"O! cyfiawn a chywir yw'th farnau, O ARGLWYDD,
A hyn a ddangosaf i Israel yn ebrwydd."

Yn awr mae yn codi, a myn'd at y bobol,
Heb bryder gofyna yn hyglyw a gwrol:---
"Ai Baal a addolwch? Oes neb mewn sut dyrfa
Yn barod i sefyll o du y Jehofa?
Os oes, deued yma"

RHAI.

"Mae Ahab yn edrych;"

ELIAS.

"O ydyw, a llawer o honoch yn chwennych;
Ond, och! chwi arswydwch rhag llygad bach dynol,
Heb feddwl am dremiad y llygad anfeidrol!

Ynfydion ! pwy'ch galwodd o Ur y Caldeaid ?
Pwy'ch dygodd chwi eilwaith o ddwylaw yr Aiphtiaid?
Pwy oedd a'ch harweiniodd drwy'r dyfroedd yn droedsych?
Pwy roddodd i'ch meddiant y wlad hon sydd genych?
Pwy laddodd ei chewri?—Ië, cerrig a wlawiodd
I'w difa,—a'r heulwen a'r lloer a attaliodd
Rhag troi, ond goleuo ich' ladd eich gelynion;—
Ac oni all hwnw eich gwared yr awrhon?
'Ein Baal,' medd y lluaws, 'a wnaeth i ni bobpeth.'
'Gormodiaith,' medd ereill, 'nid yw ef yn ddifeth,
Mae'n methu a gwlawio a ninau mewn gwasgfa,
Tân ydyw ei elfen—dros hwn y llywydda;
Jehofa bia'r dyfnder—Efe rydd wlawogydd—"

ELIAS.

"Mae'n annichonadwy cael mwy nag *un* ARGLWYDD—
Ni allent gyd-dŷnu—mwy, ddim a bodoli,—
Llon'd pob man yw'r ARGLWYDD,—ni fedda un neilldu.
Pwy ydyw y Duwdod sydd i chwi ymofyn,
Ac yna yn unfryd, o galon, ei ganlyn ;
Fel yma yr ydych yn cloffi er's dyddiau—
Un droed gyda'r ARGLWYDD, a'r llall gyda'r duwiau ;
Pa hyd?—os yr ARGLWYDD sydd Dduw, idd ei lwybrau;
Os Baal, heb betrusdod, ewch ar ei ol yntau."

Y BOBL.

"Pa fodd y gwybyddwn—gâd i ni gael arwydd?"

ELIAS.

"Wrthgilwyr!—faint gawsoch?—ac, wele, i'r ARGLWYDD
Un prophwyd adawyd, fy hunan, tra nifer
Rhai Baal ydynt bedwar cant cyfan a hanner;
Ond safaf yn unig—Pa ffordd a gymmerwn?—
Ein dull o addoli sydd addas, offrymwn;—
Yr ARGLWYDD wel ynddo addefiad o bechod,
A ffydd yn ymestyn at aberth i ddyfod;
A Baal fydd yn foddlon,—(er na wel ef ddyben,)
I ddifa a fyner,—mae'n unol â'i elfen.—

Er ffoled, rhaid canmawl eich synwyr yn cadw
Tân beunydd i losgi yn ngwyddfod y ddelw;
Mae'n arlun o anian, ac hefyd preswylfod,
Yr ysbryd gynnygiodd ei hun yn lle'r Duwdod;
Pa fodd y gwybyddech, i mi sydd ddirgelwch,
Waith ni ddaeth i'ch calon pwy yw a addolwch;—
Yr haul neu beth tebyg sydd genych mewn golwg;
A'r ellyll yn chwerthin tu ol yn y tewfwg.
Ond, awn at ein gorchwyl—Mae genych eidionau,
Rhowch un i'ch prophwydi, ac arall i minau;
Gadewch iddynt ddewis pa fustach gymmerant,
Hwy allant ei ddarnio, fel arfer; a rhoddant
Goed dano; ond, wele, na 'rodder marworyn
I'w danio; a minau gymmeraf 'run cynllun;
A chwi a gewch alw ar enw eich duwiau,
A galw ar enw yr ARGLWYDD wnaf finau;
A'r Duw a atebo drwy dân, bydded hwnw
Yr unig Dduw mwyach—a phawb arno'n galw."

Y BOBL.

"Ym foddlon i'th gynllun,'

ELIAS.

"Wel ydych dysgwyliaf,
Waith mi a'ch gosodais chwi ar y tir uwchaf;
Os Baal bia llywodraeth y tân, fel y dysgwch,
Yn ddilys fe dania eich aberth,—dechreuwch;
Mae genych bob mantais, chwychwi y fath nifer
I geisio am hyny,—beth onid gwaith ofer
Fydd i mi i gynnyg cyfodi fy allor;
Gwell i mi i orphwys—Nid hyn yw eich cynghor;"
Wel, ïe, medd eu hagwedd, gan gnoi eu tafodau,
Rhag dyfod o'u meddwl hwy allan mewn geiriau,
Dechreuant, mae'r aberth a'r coed ar yr allor,
A hwythau yn gwaeddi,—"Attolwg, Baal, agor
Dy glustiau i'n gwrandaw, a'th galon i dderbyn
Yr aberth sydd genym—cyduna â'n cynllun
I ddangos dy fawredd—rho dân idd ei losgi,
Ac yna ti'n unig a gaiff ei addoli."
'Does neb yn eu hateb—dechreuant a neidio,
Eu calon sy'n pallu, a'u gwyneb yn syrthio;—

"Baal gwrando!" Dim ateb--"Baal gwrando?" dim gobaith—
"Nid oeddem yn meddwl cael ceisio hyn ddwywaith."
"Baal gwrando!" "Baal gwrando!" yw'r floedd drwy y dyrfa,
Yn hytrach y sibrwd, llais pob un a fetha;
Y maent er y boreu yn gwaeddi; ac weithian,
Edrycha, yn croesi y llinyn mae'r Huan;
Ond, yn lle eu cwyno, Elias a'u gwatwar,
Gan dd'wedyd, "Dewch gwaeddwch, pam ydych mor glaiar?
Nid ydych yn cofio mai Duw yw, fod llawer
O bethau yn galw ar Dduw yr un amser;
Yr awrhon, lled debyg, y mae yn ymgomio,
Neu erlid gelynion, neu ynte yn teithio,
Neu ynte, efallai, ei fod ef yn cysgu;
Rhaid i chwi ei ddeffro, dewch gwaeddwch o egni.
Fel hyn yr arferwch chwi ddysgu am dano
Ac wele chwi'r awrhon eich hunain yn blino."
Hwy rwygant eu hunain, a'r neu â'u hysgrechau
Arswydus! fe syrthiant—gwel, dua'u gwynebau.
Nid digon yw hyna—Och! mae ganddynt gyllyll,
Ac hefyd ellynod—eu cnawd sydd yn ganddryll!
"A droisant i ymladd?"—eu gwaed sydd yn ffrydio!
Meddyliant nad ydynt mewn teimlad i weddio,
Ac felly, fel arfer, hwy ânt dan boenydiau
Er teimlo,—ac hefyd, er boddio eu duwiau,
Gan feddwl os diwerth yw ganddynt waed eidion,
Y gwnant werthfawrogi, yn ddiau, waed dynion.
O! druain tylodion, yr un yw eu tynged;—
Heb neb yn eu hateb, na neb yn ystyried!
A'r nawfed awr ydyw—yr amser gosodol
I roddi i'r ARGLWYDD yr offrwm prydnawnol;
Elias, O! cyfod—mae'r dydd wedi myned,
Mae'n bryd it' weddio,—rho iddynt ymwared.

ELIAS.

"O! Israel, O! Israel, ni allaf fynegu
Fy nhristwch i'ch gweled chwi wedi ynfydu!
Prophwydi, neillduwch—y dyrfa, dewch ataf;
Ar allor yr ARGLWYDD yn awr yr offrymaf,

Waith diau oer ddigon yw allor ddrylliedig,
Rhowch im i'w chyweirio ryw ddeuddeg o gerrig;
Deuddeg llwyth oeddech pan gynt eich bendithiwyd
Yn Jacob eich cyndâd—pan Israel eich galwyd;
Ac er nad oes heddyw ond dau gyda'r Arglwydd—
Chwi'r deg yn ei wrthod—heb achos un tramgwydd;
Y cerrig arwyddant eich bod i gyduno
Yn ngwaith y Jehofa—y llwythau oll etto.
Ac weithian â Juda a Benjamin nesaf—
Mae offrwm ar allor Caersalem 'nawr credaf;
Y lle a ddewisodd yr Iôr idd ei enw,
Ac yno y dylem ni oll fod yn galw.—
Ond 'nawr mi gyssegraf yr allor hon iddo,
Rhag meddwl o honoch na ddichon ef wrando;
Ond yn y lle hwnw—Duw pob man yw'r Arglwydd,
Fe glyw yr ochenaid o bob lle yn ebrwydd.
Yn awr mi ddechreuaf—mae'r allor yn barod;
Na, cloddier ffos lydan o amgylch ei gwaelod;—
Y coed wyf yn drefnu—y bustach a dòraf—
Ond tân, fel dywedais, fel chwi ni chymmeraf;
Ac os oes drwgdybiaeth, rhaid ydyw ei symud,
Gan hyny deisyfaf ar ryw rai gymmeryd
'Nawr bedwar celyrnaid o ddwfr, a thywallter
Ef oll ar yr offrwm, a'r coed,—dewch, gorchuddier
Y cyfan. Gwnewch ddwywaith."—"Wel dyna gwnewch etto,
Deuddeg celyrnaid sydd eisieu o hono."

Y BOBL.

"Mae'r ffos wedi llanw."

ELIAS.

"Yn awr mi ddynesaf,
Daeth amser offrymu, gan hyny, gweddiaf:—
O, Arglwydd y lluoedd—Duw Abraham ffyddlon,
Ac Isaac, ac Israel;—gwybydder yr awrhon,
Nad â hwy yn unig y gwnaethost gyfammod,
Ond hefyd â'u heppil, pe rhoisent ufudd-dod.
Ond rhai'n a'th ddirmygent, gan dòri dy ddeddfau;
Dy adael a wnaethant, gan garu y delwau;

Gwna iddynt ystyried eu drygedd, O, Arglwydd,
A gweled eu ffoledd yn ngwyneb eu haflwydd;—
Nad oes ond dy Hunan yn wrthddrych addoliad,
Mai ti ddichon roddi i'th weision wrandawiad.
A gwna iddynt gredu mai gwas i ti ydwyf,
Mai ti sydd yn dangos im' bob peth a wnelwyf;
Ac mai dy ddymuniad yw, iddynt ddychwelyd
At Arglwydd eu tadau, a rhodio mewn hawddfyd.
O! gwrando fi, Arglwydd, O! gwrando, fel gwelont
Mai ti ydyw hwnw; ac fel y gwybyddont
Mai ti a'u dychwelodd.—Yn teimlo'n brofiadol
Gwrthuni dy Anian i gospi,—Ior grasol!"
Mae'r Arglwydd yn ateb—y tân a ddisgynodd;—
Yr offrwm, a'r allor, a'r cyfan, a losgodd,
Gan leibio y dyfroedd—mae'r ffos wedi sychu;—
Mae'r dyrfa'n ymostwng—syrthiasant gan waeddu;—
"Yr Arglwydd, yn unig, sydd Dduw yn ddiammau;
Yr Arglwydd, yn unig, a fydd ein Duw ninau."
Pa le mae'r prophwydi?—Dechreuant ymguddio;
Ha! dacw hwy'n dianc tra'r bobl yn gweddio.
Elias a genfydd, a dywed, "Cyfodwch,
Gorch'mynion yr Arglwydd yn gyntaf a gedwch;
Gweithredoedd lefarant yn uwch nâ neb geiriau;
A dywed yr Arglwydd, 'A blygo i dduwiau,
Ond f' Hunan yn unig, a leddwch yn farw;'
Hyn ydyw y gyfraith—a wnewch chwi ei chadw?"

Y BOBL.

"Gwnawn bob peth."

ELIAS.

"Prophwydi Baal, ynte, a ddeliwch;
Na ddianged o honynt un gwr, deuwch, brysiwch."

Y BOBL.

"Y maent yn ein gafael."

ELIAS.

"Wel 'nawr fe a'u dygir
I waered at Cison, ac, yma fe'u lleddir;

Yn ngolwg yr allor'r arferent offrymu,—
Eu gwaed a ga fyned i chwyddo, a llenwi
Yr afon a sychwyd gan angerdd, erch, fflamiau
Eu heilun-addoliaeth, pan losgent i'w duwiau."
Elias, sut beiddiaist gyflawni'r fath ryfyg—
Pa le yr oedd Ahab?

ELIAS.

"Yn eilio y cynnyg;
Yn barod i wneuthur un peth a allasai
Ei euog gydwybod o'i fewn a daranai;
Fe gredai mai marw oedd yntau yn haeddu,
A rhoddai bawb ereill, ei hun i waredu.
Ond gallai dawelu, gan nad pa mor euog,
Waith diau ni roddwn fy llaw ar eneiniog.
Pa le y mae weithiau? rhaid i mi ei weled:—
Y Brenin, dos fyny, i fwyta ac yfed;
Ni raid it' bryderu—mae'r sychder ar ddarfod,
Er nad oes un cwmwl, gwlaw mawr sydd yn dyfod.
Mae'm ffydd fel yn clywed ei sŵn, nid yw nebpell;
Ti gai yr addewid;—dôs fyny i'th babell."
Mae Ahab yn brysio i fwyta ac yfed;
Ond at rhyw waith arall mae'r prophwyd yn myned,
I ben y bryn nesaf i'r môr, ymneilldua
I siarad â'i ARGLWYDD; a'i was a anfona
I ben yr uchelfa; man hyny i wylio
Terfysgiad y Weilgi, yn chwyddo nes duo,
Ac esgyn yn gwmwl i nen y ffurfafen,
Fel gallo ireiddio yr oll o'r ddaearen.
Elias ymgryma, a'i ben rhwng ei liniau,
Nid ydyw yn sefyll i ddadleu ei hawliau,
Ond ceisio wna etto hynawsedd ei ARGLWYDD;—
Yn awr y mae selio ei glod, neu ei w'radwydd;
Mae'r gwas yn dychwelyd:—"'Does argoel am gwmwl."
Elias, cest archoll, i'r byw, i dy feddwl?
Ei ffydd a'i cynnalia:—

ELIAS.

"Na fydd yn rhy frysiog;
Fynychaf, rhodd gyntaf y Duw Holl-gyfoethog,

Yw pwyll ac amynedd; ac os cawn ni hyny,
Mae'n ernes o'r cyfan—ni âd ni roi fyny.
Nawr, dôs, edrych etto; pe buasai hyd seithwaith,
Na ddyro i fyny, nes gweled yr effaith."

A etto; aeth seithwaith;—dychwela, gan dd'wedyd,
"Rhyw gwmwl, un bychan, fel cledr llaw gwr gyfyd
O'r mor."

ELIAS.

"Mae yn ddigon,—Dôs, dywed i'r Brenin
Am frysio i'w artref--gwlaw mawr sydd yn canlyn."

Yn awr mae y nefoedd yn ddu gan gymylau,
A sŵn y gwynt seinia fel cryfion daranau;
Mae'n ystorm; ond ystorm pwy ddichon ei phrisio?—
Arwydda fod digter yr Iôr yn myn'd heibio.
Gwlaw graslawn a ddisgyn, y ddaear ddadebra,
Ei hagwedd alarus, a'i gwisg a newidia;
Yr adar a ganant, er gwaned eu lleisiau,
A braidd cyn cael bywyd, na chyfyd y blodau!
Yr hardd-deg wyrddlesni, a ddywed, "Pe meddwn
Ar grochfloedd y daran, yn ddiau, mi waeddwn
Nes cyffro holl dannau telynau gogoniant,
Am roddi o'r ARGLWYDD i Israel faddeuant!"
"Amen," medd holl anian "cydunwn i foli,
Ein Duw ni sydd mwyach i gael ei addoli."
"Amen," meddwn ninau--cyduna, ddarllenydd,—
A gaiff y Jehofa fod i ti yn Arglwydd?

GWENLLIAN.

# TRAETHAWD

AR YR

# ANGENRHEIDRWYDD O DDIWYLLIO Y MEDDWL DYNOL.

---

GAN MR. GRIFFITH JONES, LLANELLI.

---

FOD gan ddyn *feddwl* sydd ffaith nas gall neb dynion wadu tra fyddo haul rheswm yn pelydru, a lloer synwyr yn llewyrchu. Y meddwl sydd yn gosod urddas a rhagoriaeth ar ddyn goruwch holl greaduriaid y ddaear. Efe ydyw y dadblygiad dysglaeriaf o allu a doethineb y Creawdwr. Y mae wedi ei osod yn y byd hwn i gael ei addysgu erbyn sefyllfa uwch o fodolaeth; er hyny, gyda phriodoldeb y gellir dywedyd, fod ei ymddangosiad cyntaf ar chwareu-fwrdd amser fel llwdn asen wyllt. Mewn un ystyr y mae y llwdn asen yn rhagori arno, sef buanrwydd ei annibyniaeth. Y mae greddf y creadur hwn yn ei gymhwyso i gyrhaedd perffeithrwydd sicraf ei natur erbyn terfyniad y deuddeg mis cyntaf o'i fywyd. Ond am ddyn y mae y cyferbyniad yn fawr; ei flynyddau cyntaf ef sydd yn cael sylw a nodded gwyliadwrus ei rieni; ni fedr synied ond ychydig; ond o'r fynyd y dechreuir diwyllio ei feddwl drwy addysgu iddo ei A B C, y daw cyn hir yn arglwydd ar bysg y môr ac ar ehediaid y nefoedd, ac ar bob peth byw a ymsymuda ar y ddaear.

Y mae yn ffatih hefyd nad yw galluoedd meddyliol pawb yn o gymaint. Dysgir ni i un gael ei wobrwyo â phum talent, arall â dwy, ac arall âg un; ond nid ar nifer ei dalentau y daeth dyn i gydio yn nghynffon y fellten, i ffrwyno yr agerdd, i fesur y bydoedd, ac i ddod yn dywysog mewn gwybodaeth; eithr drwy *ddiwyllio*, ac felly ëangu ei gynneddfau eneidiol. Y mae dyn yn rhagori ar y creadur afresymol yn natur ei gyfansoddiad; y mae ef wedi ei wneuthur ychydig yn îs na'r angelion; ond y rhagoriaeth a welir rhwng dyn a dyn sydd wedi tarddu oddiar ddiwylliad helaethach o feddwl y naill na'r llall. Os edrychwn ar greadur afresymol, y mae hwnw yn gyffredin yn arddangosiad

o'r hil y perthyn iddi. Rheswm a ddengys fod y fwyalch yn adeiladu ei nyth yr un fath eleni ag y gwnaeth y fwyalch gyntaf. Mae y morgrug yn adeiladu eu palas ar yr un egwyddorion, ac yn dosranu eu gwaith yn awr fel y rhai gynt. Greddf neu *instinct* y rhai hyn sydd yn eu llywodraethu, fel nas medrant wneuthur yn wahanol. Ond dyn a lywodraethir gan reswm; ac y mae iddo lawer gradd yn ei sefyllfa resymol, o sefyllfa isel ac anwaraidd y *Bosjesmans* neu y Llwynwyr, hyd at yr athronydd a eilw y sêr wrth eu henwau. Gofynwn pa beth sydd wedi gwneuthur y fath wahaniaeth rhwng y Derwyddon gynt a'u holafiaid y dyddiau presenol? Ni fyddai yn rhesymol tybied fod y genedl bresenol yn meddu ar fwy o synwyr cynhenid na'r genedlaeth a fodolai yn amser Crist. Ond y gwahaniaeth yw fod y naill genedlaeth wedi derbyn mwy o addysg, ac wedi diwyllio ei meddwl yn fwy na'r llall, ac nid yn ngwahaniaeth gwreiddiol galluoedd eu meddyliau. Mae y gwahaniaeth rhwng dau gymeriad sydd yn hollol annhebyg i'w gilydd, yn cyfodi oddiar arferiad ac addysgiaeth. Er enghraifft, dywedwn am yr athronydd a'r ysgubwr heolydd. Pan ddaethant i'r byd, ac am y chwech mlynedd cyntaf, yr oeddynt yn debyg iawn i'w gilydd; ni chanfyddai y rhieni na'r cymydogion unrhyw wahaniaeth rhyngddynt. Oddeutu yr oedran hwnw y daethant i lanw cylchoedd gwahanol. Mewn ychydig flynyddau yr oedd y talentau yn dechreu pelydru, ac yn tynu sylw; ac yn y diwedd yr oedd ffolineb yr athronydd yn amgenach na challineb yr ysgubwr. Y mae yn wir fod ambell hogyn fel Ferguson, wrth fugeilio y praidd, yn medru dangos yn gywir sefyllfa y sêr âg edau a *beads*, ac â'i gyllell wneuthur oriawr o bren; ond y mae y cyfryw hogiau yn anaml. Y mae yn amlwg mai yr un elfenau hanfodol a gyfansoddant feddwl y llanc a werth *fatches* ar y farchnad ag a gyfansoddent feddyliau Newton, Pascal, neu Kant. Ond ar y llaw arall, addefwn fod "gwahaniaeth rhwng seren a seren mewn gogoniant"--yn ëangder a maintioli enaid ac enaid, Eto gallwn ddywedyd nad yw hyn ddim i'w gystadlu â'r anghyfartalwch a welir yn feunyddiol mewn mil a mwy o enghreifftiau, yn tarddu oddiar wahaniaeth dadblygiad y naill feddwl a'r llall. Ac felly gwelwn yr ymddibyna cynydd yr enaid yn hollol ar ei ddadblygiad, neu ei ddiwylliad.

Diwylliad y Meddwl sydd ymadrodd yn dynodi y weithred o addysgu yr oll o gynneddfau yr enaid. Yr ydym yn barod

wedi dangos fod yn *angenrheidiol* ei ddiwyllio; ond sylwn yn mhellach ar yr hyn sydd i'w diwyllio. Y mae yn angenrheidiol i'r môrwr fod yn hyddysg yn neddfau morwriaeth cyn y medr hwylio ei long i America neu Australia; ac felly gofynol yw gwybod ychydig am brif gynneddfau y meddwl cyn y gellir eu diwyllio yn briodol. Gan fod dyn yn fôd deallol, moesol, a chrefyddol, priodol fyddai sylwi ar y tri pheth hyn.

I. *Yr angenrheidrwydd o ddiwyllio y cynneddfau deallol.*—Y cynneddfau deallawl ydynt y deall, rheswm, barn, cof, dansoddiant, chwaeth, darganfyddiaeth, a'r cyffelyb. Wrth ddadhuddo y cynneddfau hyn y daw dyn yn feddianol ar egwyddorion, ac i farnu drosto ei hun. Dechreuir diwyllio pan anfonir y plentyn i'r ysgol i ddysgu ei A B C. Y mae o'r pwys mwyaf i osod y plentyn ar ben y ffordd sydd yn arwain i addysg. Y mae gwell golwg ar Gymru yn bresenol gyda golwg ar hyn. Y mae gwell Ysgol-feistri ac Athrawon i ddadblygu y meddyliau ieuainc. Gan fod athronwyr yn amrywio o barthed i'r hyn a gyfansodda y "Meddwl Dynol," gwell fyddai i ni gyfyngu at yr hyn y mae y cyffredin yn feddwl wrtho.

Y mae o'r pwys mwyaf ynglŷn âg addysgiaeth i ddal yr *ystyriaeth* ar wrthrych ein myfyrdod. Dywed rhai fod ystyriaeth yn gynneddf o eiddo y meddwl; ond ereill, ei bod yn orphwysedig ar y dymuniad. Ond ein hamcan fydd ei dangos yn ei gwaith. Mor bell ag y mae yn ymarferol, dylid cyfyngu yr ystyriaeth at un peth ar yr un amser. Wrth hir ystyried a chwilio yr ydym yn dyfod o hyd i'r gwirionedd, a'r diffyg o hyn yw ein bod yn barnu yn annghywir. Mae y dyn diofal yn amddifad o ystyriaeth. Er desgrifio rhyw wrthrych wrtho, o herwydd fod ei sylw ar ffo, nid yw yn amgyffred dim. Gwelir weithiau ambell i ddyn, er fod ei holl synwyrau corfforol yn berffaith ganddo, etto yn amddifad o ystyriaeth, yn cyflawni ein gorchymynion yn hollol groes i'w dybenion. Ni ddaeth neb erioed yn feddianol ar feddwl diwylliedig heb gyfyngu ei ystyriaeth at ryw nôd priodol.

Y mae perygl mawr o beidio diwyllio y *cof.* Y mae yn rhy werthfawr i fod yn ddifater o hono. Y dyn hwnw sydd yn feddianol ar gof cryf i gofio yr hyn y mae yn ddarllen, glywed, a gweled sydd yn fanteisiol er cyrhaedd meddwl diwylliedig. Eto, nid prif amcan y cof yw cofio ffeithiau, digwyddiadau, amseriad, &c., er fod hyny yn dda; ond rhoddi cynorthwy i'r deall i ffurfio

meddwl ar ryw bwnc, a gwahaniaethu rhwng gwir a gau. Mor angenrheidiol ac mor ragorol yw y cof dynol fel y mae yr holl alluoedd ereill yn benthyca oddiyma eu perffeithrwydd, a'u hardderchawgrwydd; o herwydd fod cynneddfau ereill y meddwl braidd yn ddiwerth heb hwn. Eto nid yw cof gafaelgar heb ddeall a barn yn fawr gwerth. Nid nifer y llyfrau, ond math y llyfrau sydd yn gosod gwerth ar lyfr-gell; ac felly nid *maint* yr hyn a gofier, ond y *fath* fydd yn llesiol i ateb ein dybenion.

Y mae yn angenrheidiol hefyd i ddiwyllio y *farn*. Drwy y farn yr ydyw yn medru pwyso a thafoli opiniynau. Mor werthfawr ydyw hon, fel y mae yn ein galluogi i ddewis y da oddiwrth y drwg, i gymeradwyo yr hyn sydd lesiol, ac i wrthod yr hyn sydd beryglus. O herwydd bod yn amddifad o farn ddiwylliedig y mae llawer o ddynion gweithgar a llafurus wedi myned drwy y byd heb gyflawni unrhyw beth dymunol. Ceir hwynt yn troi gyda phob awel. Y dyb ddiweddaf a glywsant ydyw yr un wir, er efallai ei bod yn amddifad o ffeithiau; y bregeth ddiweddaf a wrandawsant oedd yr orau, er efallai ei bod yn ddiwerth; a'r ymddyddan diweddaf oedd y mwyaf gwerthfawr, er fe ddichon ei fod yn anadeiladol. Sylwer ar ddau berson, un â'i farn yn anniwylliedig, a'r llall yn ddiwylliedig, yn darllen llyfr. Darllena un ef gan goleddu pob tyb o eiddo yr awdwr, heb gymaint a chysgod o reswm. Erys gyda dygwyddiadau, gweithredoedd, ac amseriad, os mai hanesiaeth neu fywgraffiaeth fydd yn ddarllen. Os mai am ryw arwr fel Napoleon I. fydd ei lyfr yn traethu, cofia amser ei enedigaeth, a dygwyddiadau ei ieuenctyd; gall draethu yn llithrig am ei dywydd hyd nes y coronwyd ef—desgrifia y brwydrau, nifer ei filwyr a'i elynion, a mawryga ei fuddugoliaethau. Y mae hyn yn dda mor bell ag y mae yn myned, ond attolwg, pa les personol a dderbyniodd? Yr oedd ei ddychymyg wedi ei weithio fel y carai fod yn lle yr arwr—hoffai gyflawni y gweithredoedd a gyflawnodd, ac fe ddichon y gwnai ei efelychu hyd y mae yn bosibl. Gwyddom am ddau ddyn ieuanc, wedi darllen hanes bywyd Nelson, prynodd pob un gyllell, gadawsant eu crefft, a ffwrdd â hwy i lan y môr i ymofyn llong er dod yn Nelsoniaid eu hunain. Ond am yr un â'i farn yn ddiwylliedig, ni erys gyda y pethau uchod, ond gosoda ei farn ar waith i dafoli yr ysgogiadau, myn weled pa fudd oedd cyflawni y gweithredoedd, beth oedd yr amcan mewn golwg, a gwrthoda bob peth nad yw yn llesiol ac yn rhinweddol.

Mae y *deall* i'w ddiwyllio. Y mae dealldwriaeth am beth yn sicr o ddangos y modd y gellir gwneuthur peth yn iawn. Y deall sydd yn rhoddi gwreiddioldeb. Mae y dyn heb ei ddeall wedi ei ddiwyllio, yn efelychu ereill; ond cofiwn na ddaeth neb yn fawr wrth efelychu. Drwy ei ddiwyllio yr ydym yn derbyn grym i feddwl, a chrynhoi yr holl syniadau ar y pwnc fel y gellir myfyrio yn drwyadl. Y mae undeb rhwng y farn a'r deall, a thrwyddynt yr ydys yn medru esbonio, dad-ddyrysu yr hyn sydd ddyrus, a thynu casgliadau oddiwrth yr amser presenol am y dyfodol. Ni fedr yr anneallus amgyffred braidd am ddim yn iawn. Pe gofynid iddo paham y mae weithiau yn haf ac weithiau yn auaf? beth yw yr enfys? paham y mae yn gwlawio? beth yw y daran? beth sydd yn achosi trai a llanw yn y môr? a lluaws o bethau ereill, ni fedr amgyffred dim am danynt. Ond am yr un â'i ddeall wedi ei ddiwyllio, y mae yn amgyffred yr achos o honynt, a rhydd atebiad rhesymol am ei farn. Dealldwriaeth Watt, Arkwright, ac ereill a wnaeth iddynt ffurfio y gwahanol beirianau ag sydd yn gof-golofnau gogoneddus i'r meddwl dynol.

Dylid diwyllio y *chwaeth*. "*A thing of beauty is a joy for ever.*" Mae y gynneddf hon i'w gweled yn fore yn mywyd dyn. Dangoswch flodeuyn hardd i blentyn, bydd yn aflonydd nes ei gael, ond wedi ei gael bydd yn llon; ond y mae y gynneddf yn cael ei mwrddro yn lle ei diwyllio gan y rhan fwyaf o ddynion. Ambell i dyddynwr a deimla ei enaid wedi ei danio wrth weled prydferthwch anian—ei blodau amryliw a pheraroglus—ei hafonydd dolenog yn ymdreiglo weithiau yn araf drwy y gweunydd gwastad, a phrydiau ereill yn rhuthro dros greigydd geirwon ac uchel—lliwiau gogoneddus yr enfys—y cymylau dysglaer yn dawnsio ar balmant yr wybren pan fydd yr haul ar fyned i "wely yr heli,"—y lloer arianliw yn "arianu y lli"—a thônau melusion telynorion y goedwig Mae y dichwaeth yn ddifater braidd am bob peth prydferth. Diystyra yr hyn sydd hardd, a gosoda chwaeth yn gyfystyr â balchder. Ymwelodd dau Gymro â'r *National Gallery* rhyw ysbaid o amser yn ol. Yr oedd un o honynt wedi diwyllio ei chwaeth; ond y llall oedd yn wahanol. Pan aethant i mewn yr oedd enaid un wedi ei drydaneiddio; ond yr oedd y llall yn berffaith ddifater; yr oedd y cwbl a welai heb "na phryd na thegwch." "Edrychwch yma," ebe un, gan gyfeirio sylw y llall at ddarlun godigog o Gevartius, un o brif weithredoedd athrylith Vandyke, "A welsoch chwi erioed o'r blaen fath gelfyddyd-

waith gorchestol a hwn?" "Pa werth," oedd yr ateb, "sydd mewn hen bittiwr fel hwna." Pan glywodd y llall yr ateb, ni fedrai lai na theimlo wrth ei anwybodaeth. Dyma ddau gymeriad—un i'w gasâu a'r llall i'w garu—un i'w wrthod a'r llall i'w efelychu—un heb fod ond ychydig yn uwch na'r anifail, a'r llall heb fod ond ychydig yn îs na'r angel. Dylid ymorchestu i ddiwyllio y chwaeth am fod mêl yn ei chwch, a danteithion blasus ar ei bwrdd.

II. *Y mae yn angenrheidiol diwyllio y cynneddfau moesol a chrefyddol.*—Dywedasom yn barod fod dyn nid yn unig yn greadur deallawl, ond ei fod yn fôd moesol a chrefyddol. Mae y sawl sydd wedi talu sylw i'n natur foesol, drwy ba un yr ydym yn dyfod yn ddeiliaid o gymdeithas, yn barnu mai hon ydyw yr un fwyaf pwysig. Nid oes neb mor ffol a dweyd yn erbyn diwyllio y cynneddfau deallawl, ond byddai dweyd yn erbyn diwyllio y rhai moesol yn milwrio yn erbyn ei hun, ac yn erbyn cymdeithas. Dyma y gadwyn sydd yn dàl cymdeithas gyda ei gilydd. Edrycher ar gymdeithas yn mhlith barbariaid, a cheir gweled pa beth yw gwerth moesoldeb. Y mae yn wir mai nid diwylliad deallawl yw diwylliad moesol; ond y mae yn amlwg i bawb fod y gwrteithiad a wneir i'r deall yn sicr o fod yn fanteisiol i'n natur foesol. Eto, gall dyn fod yn wybodus heb fod yn rhinweddol, fel y gwelwn yn fynych. Y mae y ddau i fod mewn undeb â'u gilydd; am hyny, ni ddylid esgeuluso un ar draul dyrchafu y llall. Y mae yn ein natur foesol dueddiadau a theimladau, y rhai sydd yn agored i gael eu dylanwadu gan bethau allanol er drwg neu er da. Byddai yn fuddiol i ni sylwi eto ar y teimladau hyn fel y maent yn ymagor yn y meddwl.

Mae y teimladau *hunanol*, neu y rhai iselaf, gyda y rhai cyntaf yn galw am sylw. Y mae mewn dyn reddf ag sydd yn agored i'w niweidio. Pan yn blentyn mae y reddf heb ei llygru,—Sugna nes cael digon, a gwrthwyneba yr hyn sydd gas a ffiaidd. Ond wrth weled llawer dyn ar rai amserau, braidd nas gellir gwadu ei bodolaeth. Mae y glwth a'r meddwyn yn gymeriadau isel yn ein gwlad; ac nid yw yr hwn sydd yn ymarferyd myglys yn amgenach. Dylid bwyta mor gymedrol fel na fydd yr iechyd i gael ei niweidio. Dylid gofalu peidio gosod y serch ar fwydydd na meddwl am fwynhau danteithion; a gochelyd pob math o ddiodydd meddwol, o herwydd hwy a frathant fel y sarff, ac a bigant fel y neidr.

Angenrheidiol yw diwyllio ein *tymerau.*—Fod dyn yn feddianol ar deimladau da a drwg sydd berffaith wybodus i bawb ; a'r ffordd i ffrwyno y rhai drwg yw diwyllio y rhai da. Clywir yn aml y *natur* yn cael ei beio pan fydd dyn yn dangos ei "dymer gas." Y mae yn bosibl fod tymerau rhai yn fwy tanllyd na'u gilydd; ond nid oes neb yn meddianu tymer mor dda nad oes eisiau ei diwyllio ; ac nid oes neb a feddianant dymerau drwg nas gellir eu dwyn yn addfwyn.

Mae mewn dyn hefyd deimlad er darparu neu gasglu nwyddau. Nid oes neb synwyrol a all amheu nad yw yn deimlad moesol. Y mae cyfalaw *(capital)* yn ddyledus am ei fodolaeth i'r teimlad hwn. I gyfalaw yr ydym yn ddyledus am y gradd uchel y sefwn mewn gwareiddiaeth. Y mae Awdwr ein bodolaeth wedi argraffu pwysigrwydd ar y teimlad hwn drwy nerth ei dueddfryd. Ond rhaid gofalu ei ddiwyllio ; rhaid ei drefnu, ei reoli, a'i osod ar y llwybr iawn. Aberthir yr holl oes yn fynych iddo; a thrwy y camddefnydd a wneir o hono, y mae yn dadwreiddio pob teimlad caruaidd ac haelionus.

Teimlad arall ag sydd yn galw am reoleiddiad yn fwy na dadblygiad yw hunan-barch, neu garu cael cymeradwyaeth. Y mae yn bwysig i gael syniadau cywir er gwybod pa rai ydyw arferiadau cyfreithlawn y teimlad hwn. Y mae hunan-barch gyda dybenion daionus yn rhoddi yr ymddiriedaeth hòno ynom sydd angenrheidiol i'n hymegniadau mewn bywyd, ac i gadw ein hunain rhag cyflawni gweithredoedd annghyfreithlon. Ni ddylid gadael y teimlad hwn fyned yn mhellach na rhoddi ymddiriedaeth angenrheidrol ynom ein hunain, ac i werthfawrogi cymeriad da yn y byd. Y mae ffrwythau chwerwon balchder, hunanolder, &c., yn tyfu oddiar y pren hwn pan y bydd wedi ei blanu mewn tir drwg; pa rai gocheled y darllenydd.

Y mae *elusengarwch* yn deimlad moesol ag sydd raid ei ddiwyllio. Mae y dyn hwnw na fedd ar dosturi, ac a attalia ei law rhag gwneuthur elusen, yn aelod gwael iawn mewn cymdeithas. Dywed y gŵr doeth fod yn well rhoddi na derbyn ; a dywed y Gŵr doethaf, "Gwna i ereill fel y dymunit wneuthur o ereill i ti."

Y mae *cariad* a *chyfiawnder* yn deimladau a ddylid eu diwyllio.—Mae y dyn cariadlawn, a'r hwn ni wna gam â'i gymmydog, yn ddyn dedwydd a pharchus. Mae y teimladau hyn yn gorchfygu y nwydau diraddgar a gwawdlyd, ac yn danfon allan oleuni

gogoneddus drwy y byd moesol. "Dysgwch eich plant," ebe un awdwr talentog, "i beidio clwyfo teimladau person am ei fod yn dàl swydd isel mewn bywyd, am fod ei wisg yn dylawd, am ei fod yn wan mewn meddwl neu gorff, am ei fod yn chwithig, neu am fod Duw natur wedi gosod arno groen duach nag arnynt hwy."

Dylid diwyllio y *gydwybod.*—Cyn y gellir iawn ddiwyllio hon, angenrheidiol hefyd ydyw diwyllio y deall. Gwaith y deall ydyw dangos y ffordd; ond gwaith y gydwybod yw cymell i rodio ynddi. Y deall sydd yn chwilio pa beth sydd yn wirionedd; ond y gydwybod sydd yn tueddu dyn i lynu wrtho. Pan y bydd y deall heb ei oleuo, y mae y gydwybod yn cysgu, neu y mae y teimlad at uniondeb yn cael ei arwain i benboethder a chreulonder. Mae y fam yn gydwybodol yn taflu ei phlentyn i'r *Ganges*, o herwydd ei bod yn teimlo hyny yn ddyledswydd arni. Hefyd gallwn weled yn ein gwlad ein hunain, fod y gydwybod wedi ei phylu. Nid aeth neb yn feddwyn neu yn dyngwr ar unwaith, ond yn raddol; â yn mlaen gam ar ol cam, nes o'r diwedd y gall feddwi, tyngu, a bytheirio cableddau yn ddigon digywilydd. Ond os bydd y deall wedi ei addysgu, a'r gydwybod wedi ei goleuo, cyfansodda hyn y peth yn bur agos i'r hyn y dylai dyn fod. Maent yn cyfansoddi egwyddor yn y fynwes a bâr i'w pherchenog lynu wrthi er gwaethaf gwawd, tân, dirboenau, a'r carchar.

Awn rhagom i sylwi ar yr angenrheidrwydd o ddiwyllio yr egwyddor grefyddol. Yr ydym yn gweled bellach fod dyn yn greadur deallawl a moesol; ond y mae iddo gymeriad mwy goruchel na hyn, y mae yn greadur crefyddol. Nid yn unig y mae dyn yn dàl perthynas agos â'r byd hwn, ond y mae yn ddeiliad o'r byd tragwyddol. Y mae y gynneddf grefyddol i'w chael pa le bynag y ceir ef. Mae pob gwlad yn dàl yr argraffiad o blygiad ei glin; o'r rhai a blygant i addoli yr haul, pren, careg, ymlusgiaid, a lluaws o wahanol wrthrychau ereill, hyd at yr hwn a addola y "gwir a'r bywiol Dduw." Amcan crefydd yw dedwyddoli dyn drwy ei adnabyddiaeth o Dduw; a'r enaid hwnw sydd fwyaf adnabyddus o Dduw ydyw y dedwyddaf. Yn awr, os yw dyn yn greadur crefyddol, pa grefydd sydd fwyaf cydweddol â'i natur, sydd yn apelio at ei ddeall a'i gydwybod, ac sydd yn dwyn ei holl oes i ddefnyddioldeb? I ateb y gofyniadau hyn syrthia holl grefyddau y byd i'r llwch o flaen Cristionogaeth. Ni thy-

wynodd dim purach, na dim mwy godidog ar y meddwl dynol erioed; ac oddiar y pryd yr ymddangosodd yr Addysgwr mawr yn ein byd, y mae cymdeithas wedi gwneuthur rhyw bethau rhyfedd—y mae cylch y meddwl wedi ei helaethu, ac y mae ei deimladau cyfeillgar ac elusengar wedi eu dadblygu a'u coethi. Gwna diwylliad y cynneddfau deallawl ddyn yn seneddwr gwych, yn athronydd dysgedig, ac yn fardd godigog; ond nid oes dim yn fawr mewn dyn, ond cyn belled ag y mae wedi ei gysylltu â Duw. Mae y gwahanol esboniadau a wneir o grefydd wedi magu llu mawr o wrthwynebwyr iddi. Edrychant arni fel peth oer, yn groes i ddedwyddwch, yn tueddu i grebachu y meddwl, ac i ddiystyru yr hyn sydd yn athronyddol ; ond cam mawr â chrefydd yw hyn. Dichon mai am ei bod yn gwneuthur pob peth arall yn iswasanaethgar iddi y mae yr athronydd yn ei gwrthod, ac nid bod yn gydstad âg egwyddorion ereill. Mae yr hwn sydd yn ei gwasanaethu fel y wenynen yn casglu mêl o bob gwyddor a chelf—tŷn wersi buddiol o lyfrau Natur a Rhagluniaeth, a thry bob peth er mantais a lles crefydd. Beth pe buasai yr arwyr ar faes y gwaed, yr athronwyr dyfnddysg, a'r seneddwyr athrylithgar wedi mabwysiadu llwybrau er hwylysu cerbyd yr Emanuel. Buasai Alexander, fel Paul, wedi enill buddugoliaethau mwy gogoneddus nag a wnaeth, a gallai wylo am fyd arall er ei ddwyn dan faner yr Iesu. Buasai Napoleon, fel Luther, wedi enwogi ei hun fel un cadarn i symud ymaith ormes a thrais, a throi eneidiau filoedd at yr Arglwydd. Buasai Nelson, fel John Williams, yn genadwr ffyddlon yn gwneuthur negeseuon daionus. Buasai Voltaire, fel Mathew Henry, yn esboniwr godidog o'r Bibl, a Hume, fel Chalmers, yn dadrys dirgelion duwinyddiaeth, a dwyn yr hyn oedd dywyll i oleuni. Bydd enwogion crefydd mewn anrhydedd a bri tra parhao oesau y ddaear, pan fydd holl arwyr rhyfel ac anffyddiaeth wedi syrthio i ebargofiant bythol. "Duwioldeb sydd fuddiol i bob peth, a chanddi addewid o'r bywyd sydd yr awrhon, ac o'r hwn a fydd."

Byddai yn briodol i ni yn mhellach i sylwi ar y *modd* i ddiwyllio y meddwl. Y mae yn waith ag sydd yn galw am ymdrech galed. Nid oes yr un ffordd freninol i addysgiaeth. Ni chafodd neb ei eni yn athronwr, ac ni ddaeth athrawon colegau nac aelodau y weinyddiaeth i lanw eu swyddau wrth rodio, segura, a chysgu ; ond "drwy chwys eu gwynebau" y dringasant i lanw eu

cylchoedd pwysig ; ond cofied y darllenydd, "Yr hyn mae *dyn* wedi wneud, fe all *dyn* wneud." Y moddion drwy y rhai y gallwn ddiwyllio y meddwl ydynt *sylwi*, *darllen*, *gwrando* darlithiau neu bregethau, *ymddyddan*, a *myfyrio*.

Drwy *sylwi* y deuwn i wybod am yr hyn a gymer le, pa un a fydd yn perthyn i ni neu i ereill, i'n meddwl neu i'n corff. Ni roddwyd ein cynneddfau deallawl na'n synwyrau corfforol ond i gyflawni rhyw waith defnyddiol er anrhydedd i'n Gwneuthurwr. Dylem ddysgu gwersi buddiol oddiwrth yr adar, y creaduriaid, a'r ymlusgiaid bychain ; oddiwrth ryfeddodau natur yn mysg y llysiau, y blodau, a'r coedydd. Os cyfodwn ein llygaid i'r nefoedd serenog, gallwn gael testynau gwerthfawr oddiwrth y cymylau, y sêr, y lleuad, a'r haul—eu cylchdroadau, a'u diffygion. Os mewn tref, gwelwn waith dyn; gwelwn y gweithredoedd rhyfeddol a gyflawnodd. Wrth sylwi ar chwyldroadau yn mysg cenedloedd, ac yn mysg teuluoedd, y dysgwn mai ansefydlog ydyw holl oruchwylion dynion.

Y ffordd arall i ddiwyllio y meddwl yw drwy *ddarllen*. Dywedodd Bacon, "Darllen a wna ddyn cyflawn, ymddyddan a wna ddyn parod, ac ysgrifenu a wna ddyn manwl." Drwy ddarllen yr ydym yn dyfod i wybod am yr hyn fu; ac y deuwn yn wybyddus o feddyliau hen a diweddar. Gallwn ymddyddan â'r rhai sydd wedi tewi llefaru er ys oesau, y rhai a fedrent ysgwyd y bobl fel y gwna corwynt y goedwig. Llyfrau ydynt y trysorau gwerthfawrocaf a feddwn; ac mewn llyfr y mae ein iachawdwriaeth wedi ei dadguddio. Nis gellir bod yn *gyflawn* heb ddarllen, yn fwy nag y gellir bod yn iachus heb weithio. Dylid bod yn ofalus i wybod beth yr ydys yn ddarllen yn gystal a'r hyn yr ydys yn fwyta. "Y mae un dosbarth (medd Coleridge,) yn debyg i awr-wydr; mae eu darlleniad hwy yn debyg i'r tywod—rheda i mewn a rheda allan heb adael dim ar ol. Yr ail ddosbarth sydd yn debyg i ysbwng, yr hwn a gymera i mewn bob peth, gan ei ddychwelyd yn agos yn yr un cyflwr, gyda'r eithriad o'i fod ychydig yn fryntach. Y trydedd dosbarth a gymhara efe i gwd clydgol *(jelly bag)*, yr hwn a adawa bob peth sydd yn bur i basio ffwrdd, gan gadw yr holl garthion a'r gwaelodion. Y pedwerydd dosbarth a ellir gymharu i'r caethion yn mwn-gloddiau y perlau yn Galconda, y rhai, gan daflu ymaith bob peth diwerth, a gadwant y gem gwerthfawr yn unig."

Ffordd arall ydyw drwy wrando areithiau neu bregethau. Ychydig yw y bobl sydd wedi diwyllio eu meddyliau heb gael cymhorth addysgwr byw. Yr ydym yn ddyledus am lawer o'n gwybodaeth i'n hysgol-feistri. Hon ydyw y ffordd y dysgir crefydd o'r pwlpud, duwinyddiaeth o gadair yr athraw, ac athroniaeth o enau y proffeswr. Y mae yr athraw yn medru dangos ac esbonio yr hyn sydd ddyrus i'r dysgybl mewn ychydig amser, pan y cymerai ei bwnc efallai ddiwrnodau o ddarllen i'w egluro. Mae rhywbeth yn fwy bywiol a chynyrfus drwy wrando ar y byw nag wrth ddarllen gweithiau y marw. Y mae llyfrau fel rhyw athrawon mudion yn dangos y ffordd i addysgiaeth, ond pan y cyfyd gofyniad yn y meddwl, ac i beri petrusdod, ni fedrant mo'i ateb; hyn ydyw dyben athrawon byw.

Hefyd ffordd arall ydyw drwy *ymddyddan.* Dywed y gwr doeth, "Haiarn a hoga haiarn, felly gŵr wyneb ei gyfaill." Gofynwyd i Dr. Johnson pa fodd yr oedd wedi cyrhaedd cymmaint o wybodaeth; atebodd, mai yn benaf drwy ymddyddan. Dywed Verillas, o bob deg peth a wyddai, ei fod wedi dysgu naw drwy ymddyddan. Gellir defnyddio y modd hwn er drwg neu er da. Drwy gyfeillachau drwg y llygrir moesau da. Trefn ydyw ymddyddan sydd wedi ei dewis gan ein Creawdwr er ein dedwyddwch yn mhob amgylchiad. Wrth ymddyddan y mae cyfleusdra i wneud daioni, i'w dderbyn, a'i gymhwyso atom ein hunain; ac yn y modd hwn y mae addysgiaeth yn cael ei gweinyddu o feddwl i feddwl nas gellir ei chael hi mewn llyfrau. Drwy y ffordd hon y gellir cael goleuni dirfawr yn y celfyddydau, ac ar ryw bwnc dyrys mewn duwinyddiaeth neu wladyddiaeth; a thrwy y gwrthwynebiad a wneir i'n meddyliau ein hunain y gosodir ni ar lwybr i chwilio allan am yr hyn sydd wirionedd.

A'r ffordd arall a grybwyllwn ydyw drwy *fyfyrio.* Os na fydd ein cylla yn medru treulio ein bwydydd, ni fydd ond ychydig faeth yn deilliaw i'r corff: felly os na fydd dyn yn myfyrio, ni ddeillia dim lles iddo drwy sylwi, darllen, a chyfeillachu. Cylla y meddwl yw myfyrdod. Drwy y cylla hwn y medrwn gael lles a daioni i'n meddyliau oddiwrth sylwi, darllen, gwrando, a chyfeillachu â meddyliau ereill, ac ânt drwy y fath gyfnewidiad nes y deuant yn gyflawn feddyliau i ni. Er fod darllen a gwrando yn ein galluogi i wybod llawer, eto ein myfyrdod sydd i benderfynu

yr hyn a gredwn. Y mae darllen ac ymddyddan yn ein galluogi i wybod am ddrychfeddyliau, ac i ddarganfod rhesymau, ond ein myfyrdod sydd i benderfynu a ydyw y drychfeddyliau a'r rhesymau hyny yn wir.

Y mae y moddau hyn i fod yn unol â'u gilydd; rhaid iddynt fyned mlaen law yn llaw. Nid yw wiw glynu wrth un o honynt; ond rhaid eu cyflawni oll. Fe all dyn sylwi o'i febyd i'w fedd heb fod ronyn gwell, os na fydd yn darllen, ymddyddan, a myfyrio; bydd y cwbl a ddaeth o dan ei sylw yn diflanu ymaith fel cân aderyn, heb adael yr un effaith ddaionus arno. Os glyna wrth ddarllen, heb sylwi, ymddyddan a myfyrio, ni fedr ond cofio ffeithiau, a rhoddi barnau ereill ar ryw bynciau. Os bydd dyn yn defnyddio ei holl amser i ymddyddan, heb ddarllen, sylwi, a myfyrio, ni fydd ond wedi cyrhaedd gwybodaeth gymysglyd, nis gwyr ddim yn iawn. Ac y mae yr hwn sydd yn myfyrio, fel mynach, heb sylwi a dod i gyffyrddiad â meddyliau drwy ddarllen neu ymddyddan, yn fynych o ysbryd cul ac hunanol, ac yn ddiddefnydd mewn cymdeithas. Ond drwy wneuthur defnydd o'r pump ffordd hyn y diwyllir y meddwl, y cesglir gwybodaeth, a hòno yn gywirach, ac y deuir yn fwy defnyddiol yn y byd.

Yn awr, ddarllenydd, yr ydym wedi dangos pa bethau sydd i'w diwyllio, a'r modd i wneud hyny; ond genyt ti y mae yr ewyllys. Gwir fod y gwaith yn anhawdd, a'r ffordd yn serth, ond drwy amynedd a diwydrwydd ti a goncri bob rhwystr. Os byddi o ddifrif, ti a lwyddi. Ni saif dim o flaen penderfyniad diysgog. Y mae gwirionedd yn anhawdd ei gael. Gwelwyd penderfyniad a diwydrwydd mewn gweithrediad yn nghymeriad Sebastopol. Tebyg i'r ddinas ryfedd hòno yw y lle y triga gwirionedd. Rhaid gwarchae oddiamgylch iddi, a thân-belenu ei muriau, a gwneyd ymosodiad arni. Weithiau methir cymmeryd y Redan, a gŷrir y milwr yn ol gan amgylchiadau; ond drwy ei wroldeb, adnewydda drachefn, ymafla yn y gwaith â'i holl egni, nes y cymera y Malakoff, ac yna ca afael yn y foneddiges wech hòno, Gwirionedd. Ceisiodd hi fel "ceisio arian," a chafodd afael ar yr "aur etholedig."

Yr ydym yn sefyll mewn adeg bwysig—ni ymddangosodd neb ar chwareufwrdd amser mewn amgylchiadau mwy cyffrous nâ'r dô bresennol. Rhaid cael pen goleu a chalon wresog; rhaid cael

y meddwl wedi ei ddiwyllio, a'r galon wedi ei hadgenedlu; rhaid bod yn feddiannol ar gariad tanllyd, na fedr y byd mo'i ddiffodd, er gwneuthur daioni. Mae y maes yn llawn trysorau gwerthfawr o'n blaen; yr ydym ninau yn sefyll mewn angen o honynt. Mae y byd a'r nefoedd wedi darparu dysgleidiau blasus ar ein cyfer, ac yn awr yw yr adeg i ddyfod i'r wledd, ac i ymborthi. Cyfodwn, gan hyny, a gwisgwn wisgoedd gwirionedd am danom. Awn yn mlaen drwy y maesydd gwynion; y mae i ni gymdeithion luaws; mae y nefoedd a'r ddaear yn dysgwyl wrthym, ac yn gwaeddi arnom, Gwnewch rywbeth.

LLYWARCH IEUANC.

---

# PRYDDEST
AR
## FARWOLAETH RICHARD JANION NEVILL, YSW.,
LLANGENNECH PARK.

---

GAN MR. DAVID DAVIES, LLANELLI,
*(Dewi Mai.)*

---

PARHAU i wneyd difrod mae teyrn dychryniadau,
  Heb arbed dynoliaeth, ond tòri i lawr;
Nid oes yr un eithriad, parth oedran na graddau,
  Pawb 'ynt yn agored i'w saethau bob awr.
I'n rhan yn bresenol y daeth cyfranogi
O alar ! Fe syrthiodd enwog-ddyn Llanelli—
Ein NEVILL tra gweithgar, mae galar o'i golli,
  Tra yma bu'n oesi, ei fri oedd yn fawr.

Prif biler Llanelli oedd ef trwy ei ddyddiau,
  Ragluniaeth a'i rhoddodd yn atteg y lle,
Yn hylwydd offeryn i agor y gweithiau,
  Yr hyn a achosai gynnyddiant y dre';
Efe achlysurodd i'r ddae'r gael ei chloddio,
I lô gael ei godi, i fŵn gael ei gludo;
Grym masnach Llanelli yn crogi oedd wrtho,
  Pwy nawr bâr fod galar cyffredin ?—Efe.

Pum deg o flynyddau sydd wedi myn'd heibio,
  Oddiar pan sefydlwyd Gwaith Efydd Pen-rhôs,
Mŵg odd ei simneiau yn dyrchu sydd etto,
  A'r parthau oleuir â'i dânau'n y nos ;
Gwaith Copr canolig o faint ar y cyntaf,
Yr awrhon mae'n agos a bod y Gwaith mwyaf,
I'w gynal bu NEVILL yn weithgar i'r eithaf,
  Ac 'nawr yn ei ymyl mae ardal dra thlos.

Gwythienau yn gorwedd yn nyfnder y ddaear,
Trwy rym ei drysorfa gyrhaeddwyd mewn llwydd,
Ei feddwl grymusol bob amser oedd weithgar,
Cyflawnai orchwylion tra anhawdd yn rhwydd;
Ei ëang drafodiaeth trwy'r oll o'i changenau,
A'i phwys yn ddigonol i dd'rysu meddyliau,
Heb attal gynaliodd am hirion flynyddau,
Pa le ceir ail iddo i lanw'r fath swydd?

Fe welwyd cwmpeini yn myn'd yn feth-dalwyr,
A dôrau ariandai a welwyd yn cau,
Prinhad y gorchwylion yn ddychryn i weithwyr,
Rhagluniaeth yn gwgu, a chyni'n nesâu;
Ond ardal Llanelli bryd hyny waredwyd,
A'r taliad yn pallu gan Nevill ni welwyd,
Y Gweithiau'n llwyddiannus yn mlaen ganddo ddygwyd,
Pob peth fel arferol oedd yno'n parhau.

Y byd fedrai drafod yn ddoeth a meistrolaidd,
Gofalon ni soddent ei feddwl i lawr,
Ei amser a dreuliai yn ddoeth ac yn weddaidd,
Yn ddifudd gofalai nas hedai'r un awr;
Holl lafur ei swyddfa—rhoi pob hyfforddiadau,
Y dirfawr ohebu, a thynu cynlluniau,
Nes oedd fel canolbwynt y myrdd o linellau,
Neu lygad pelydrau ar dòriad y wawr.

Bydd sôn am ei enw mewn oesoedd dyfodol,
A'r hyn a gyflawnodd i anghof nid â,
Ei oes yn mhob ystyr a dreuliodd yn fuddiol,
Oddiwrth ei holl ddyddiau fe ddeilliodd rhyw dda;
Heblaw rhoi agoriad i Weithiau tra mawrion,
Ei olwg a gadwai ar foesau'r trigolion,
Yn wgus edrychai ar ffyrdd yr afradlon,
Ffieiddiai o'i galon hyll droion traha.

Fel llyn cynhyrfiedig, gan gyffro'n ei ganol,
A'r crychiau modrwyawg yn cyrhaedd y lan,
Oedd ef parth dylanwad mewn ystyr fasnachol,
A'r buddiant, cyn diwedd, yn cyrhaedd y gwan;

O'r achos cynhyrfiol yr oll yn ddeilliedig,
Ewyllys ac arian yr enwog foneddig,
Pob un yn ei galon yn dweyd, Bendigedig
  Y bo'r goruchwyliwr sy'n gwneuthur ei ran.

Pwnc mawr yn ei olwg oedd llesiant ei weithwyr,
  A cherid ef ganddynt o hyd megys tad,
Cynllunio y byddai er mwyhad eu cysur,
  Caent trwy'i ragddarbodaeth eu bara'n fwy rhad;
Pan byddai drudaniaeth yn bygwth yr ardal,
I farchnad bellenig anfonai'n ddiattal,
Gwrthbwysid y prinder trwy'r haelder dihafal,
  A deuai o'i noddiant bob llwyddiant a llad.

Ei gylch ydoedd uchel, a'i enw'n gyhoeddus,
  Trwy'r deyrnas yn hysbys, a thu draw i'r môr
Gwr mawr ei ddylanwad, a thra anrhydeddus,
  Er meddu ar gyfoeth ei bwyll oedd ei 'stor;
Yn gryf o gynneddfau, o ddeall yn fywiog,
Yn mhlith ei gyfeillion efe oedd fel penog,
Pob peth a gydweithiai i'w wneuthur yn enwog,
  Ennillodd barch dynion a bendith yr Iôr.

Fe gafodd Llanelli yn isel ei chyflwr,
  A bu'n offerynol i'w chodi i'r lan,
Y ffaith ellir brofi o enau pob hen-wr,
  A gafodd ei eni a'i fagu'n y fan;
Gadawodd Lanelli mewn gwychder tra odiaeth,
A'i enw a erys yn nglŷn wrth y lle,
Pob gwaith a chelfyddyd, yn nghyd a dysgeidiaeth,
  Sy 'nawr yn anrhydedd, a bri idd y Dre'.

Ei enw'n nglŷn a chopr fydd,
Coffa'r gwaith arian am ei ddydd;
O gof-golofnau ni bydd lwm,
Mae'i enw'n gerfiol fel mewn plwm,

Cadd Llangenech elwch trwyddo,
A'r hen balas ei gyweirio;
I'w gyntefig wychdra dygai
Yr oll iddo a berthynai.

Yno bu am ugain mlynedd,
Yn ei hardd gysurus anedd,
Noddwr oedd i'r ardalyddion,
A diwallai eu hangenion.

Yr anialwch a wrteithid,
Tir i daflu meillion ddygid,
Nid yn segur cadwai 'i arian,
Gweithgar ydoedd ef yn mhobman.

Yn Llanelli a'i hardaloedd,
Cofir ef gan weithwyr filoedd,
Pawb trwy'r lle yn noddwr uchel
A ystyrient Meistr Nevill.

Prin nid oedd mewn cyfraniadau
At y buddiol sefydliadau,
I un blaid yn llaw ganedig
Ef ni byddai,—ond caredig.

Noddwr oedd i bob sefydliad
A dueddai at wareiddiad,
Mynai gael diwylliant meddwl
I bob dyn, a difa'r nifwl.

Cymmorth ydoedd i'r ysgolion,
Er addysgu plant tylodion;
Lles pob gweithiwr a ddymunai,
Addysg idd eu plant a roddai.

Anrhydeddus oedd fel ynad,
Llanwodd gylch yr uchel alwad,
Ac nid oedd yn ddidrugaredd,
Tra'n rhoi'r goron ar y gwiredd.

Meddianu yr ydoedd ar gryf gyfansoddiad,
A'r unrhyw ni lygrai trwy drachwant a blys,
Trwy'i einioes ymddygai mewn doeth ymarweddiad,
A daliai'i gymmeriad mewn llan ac mewn llys;
Ei fryd ef ni swynid gan weigion bleserau,
'Roedd ganddo wasanaeth pwysicach i'w oriau,
Hyfforddiant ei deulu, gwrteithiad pob moesau,
O werth mwy golygai na'r perlau mawr bris.

Oes o bwysigrwydd oedd yr eiddo ef,
A chyflawn ddyddiau gafodd is y nef,
Yn y dyfodiant idd y gwreng a'r gwael,
O'i lafur mawr yn deilliaw bydd rhyw fael;
Er cael byw'n hir, a threulio'i oes heb glwy',
Myrdd ddymunasent iddo fyw yn hwy;
Y fraint a gadd cyn dyfod gwŷs y ne'
O wel'd ei blant yn codi i lanw'i le.

Dyhoeni'n hir mewn nychdod ef ni bu,
A phan â'i ddyrnod deuai'r angau du,
Derbyniai'r ergyd mewn ymroddiad llawn—
I 'wyllys Duw, a phwysai ar yr Iawn;
Ymaflai'i obaith yn yr haeddiant drud,
Y gwerth a ro'w'd ar groes-bren dros y byd,
Ei dŷ'n drefnedig, heddwch ar bob llaw,
A'i ffydd yn dal yn ngwyneb brenin braw.
Yn ymwybodol o hwyrhad ei ddydd,
Ac fod y rhwymau 'nawr ar dori'n rhydd,
Cyfnewid trem â'i foneddiges fad,
A chanu'n iach i'r plant ar hyn wnai'r tad;
Pob gwaith ar ben cyn rhoddi'r olaf chwyth,
Wrth golli palas ennill nef am byth.
Yr olaf swll a geuai fyth ar hyn,
Dilëid pob pla trwy Iawn Calfaria fryn,
Ar edyn engyl 'hedai'i enaid cun,
A dim yn farwol yno ond y *dyn*.

RUFUS.

---

## MONODY

### ON THE DEATH OF RICHARD JANION NEVILL, ESQ.,

LLANGENNECH PARK.

BY MR. TITUS LEWIS, CARMARTHEN.

DARK is the cloud ! appalling is the gloom !
Llanelly sighs and weeps o'er NEVILL's tomb;
All shed alike the sympathizing tear,
Alike all sob, " A friend lies buried here."

No brazen trumpet at the lips of fame
Shall waft abroad his ever-honored name,
To tell of foes dispersed and thousands slain,
Or deeds heroic on the ensanguin'd plain,
Or vengeance wreaked upon the northern foe,—
Alas, that valour e'er caused tears to flow !
He never shone in Mars' triumphant train,
But sought by virtue, virtue's meed to gain.

He rather strove to soothe the orphans' cries,
To wipe affliction's tears from widows' eyes;
He never coveted the wreath of bay,
If won by bloodshed in the nation's fray;
His greatest pride was in the hour of need,
To soften woe—nor triumph in the deed.
He ne'er aspired to seize the helm of state,
But knew that to be good was to be great;
The proudest title he would fain possess
Was this, " The friend of man in his distress."

'Twas NEVILL's care to shed the light of truth
On all alike, on manhood and on youth ;
To teach men they were creatures of a day,
Who flourish, fade, and turn again to clay.
To lead them to despise all earthly dross,
And cling all hopeful to a Saviour's cross;

To bow with meekness to the chastening rod,
And cry with faith, " My Father and my God ! "

Like Howard, he his happiest hours employed
In spreading peace and love,—and this enjoyed
Beyond the tinkling of a hollow name,
Or splendid vanity of empty fame.
Good acts, great deeds,—life's well-deserved crown
His great reward, his glory and renown ;
Truth, justice, honor,--these his constant aim,
To win for him a never-dying fame.

But the dread angel of the amaranth wreath,—
By lone Llangennech lit mysterious death !
Death, overshadowing nature's brightest scenes,
That neither youth, nor age, nor beauty screens ;
But strikes unerringly the fated mark,
Extinguishing for aye the vital spark;—
Death ! mighty conqueror of all below,
Kings, princes, peasants, thou dost overthrow;
All human life thy mandate must obey,
A stern equality pervades thy sway.
Could'st thou not spare our NEVILL to us here,
To soften sorrow and to wipe the tear
From eyes that weep,—to soothe the heart distress'd,
To cheer the stricken and relieve the oppress'd ?

What ties were severed, oh ! what hearts laid bare,
When NEVILL ceased his loved one's joys to share ;
He, who in stern adversity's dark hour,
Extended sympathy's effectual power,
Lost to the wife, the chosen of his heart,
(Oh God ! from him how hard it was to part.)
Shall we not mourn with *her*, who through long years,
Smiled when he smiled, or wept if e'er his tears
Were shed o'er human woe ? shall we not gaze
With her back o'er the unforgotten days,
When youth with radiant hope was glad and bright,
And wedded hours were bathed in rosy light,—

And weeping with her, shall not every heart
Bear in the widow's silent grief a part?

Calm sunshine gilded all the page of life,
Whereon was writ thy love devoted wife;
Around thee bright-eyed children clustering fair—
Thy Nevill's hope thy fond maternal care!
And ere the scene was darkened, pattering feet
And merry voices,—countenances sweet,—
And eyes that told us of the good old race,
Appeared again to take the loved one's place.

Ah, beauteous scene! o'er the funereal gloom—
The solemn shadow of a father's tomb—
Hangs sombre now: yet from death's darkening dust,
Shines forth "the memory of the just."
The shadows vanish and the gloom departs,
And the deep misery of our o'ercharged hearts
Gives place at length to resignation calm—
A good man's memory is affliction's balm!

No longer weep, pale widow,—weep no more
For him whose barque hath reached th' eternal shore—
For him whose life but ceased when time had shed
Immortal glory on his honored head.

Weep not, fair daughters,—round your parent's tomb,
Truth, virtue, honor shed a rich perfume,
Whose odour these shall waft to future days
The poor who bless him—and the rich who praise.
Weep not, ye sons! though silent now the tongue,
Upon whose loving accents oft ye hung;
Whose words of counsel fell upon your ear—
(Words ever kind and counsel to revere,)
With ever-welcome pleasantness of tone,
Be still the sigh, and hushed for aye the moan,
For o'er the memory of the virtuous dead,
The unavailing tear is idly shed.

Good deeds, heroic virtues, aims sublime,
Achieved for him a record for all time;

Let these, ye worthy sons of worthy sire,
Your grateful hearts with emulous hope inspire ;
So shall ye fitly prove your deep regret
For him whose deeds shall teach and guide you yet.

Thus do the good and noble pass away !
When future years may ask us, "where are they?"
Our hearts shall answer, "here," they are not dead,
The memories of the just live in their stead !
And he? whose name is still amongst us here
Whose deeds we cherish and whose truth revere;
In these alone we ever shall discern,
A brighter record than the storied urn
May tell to present or to future days,—
His name his monument—his deeds his praise.

MERLIN.

---

# CHWECH ENGLYN I'R LLEUAD.

GAN Y PARCH. J. R. MORGAN, LLANELLI,
(*Lleurwg.*)

LLUSERN wen uwchben y byd,—yw'r lleuad,
Yn rhoi llewyrch hyfryd;
Ar y nef-gymyl hefyd,
Gwedd hardd oreurawg a ddyd.

Ysgwyd y môr llwyd, mawr, llydan,—a wna,
Drwy ei nerth, fel baban
Gwir der, yn ei gryd eirian,
Ar le myg y perlau mân.

Mor dawel, drwy yr uchelion!—y cerdd,
Ac urdda eithafion
Asur, a lle y sêr llon,
Cerig adail Caergwyddion.

Yn ei goleu ar ddechreunos—hyfryd,
Dringo'r ofron agos,
Neu ddystaw wrandaw'n y rhôs,
Ar ddi ri gerddi'r ëos.

Ni all lleidr enwyll edrych,—a gwenu,
Yn ei gwyneb mawrwych;
Câna gwr o garwr gwych,
Yn llawen, yn ei llewych.

Nodir, fod cyfnewidion,—y lleuad,
A'i lluaws diffygion,
Yn trwyadl ddangos troion,
A hanes yr einioes hon.

NEWTON.

## Y TEULU DEDWYDD.

GAN MR. THOMAS JONES, PORTHMADOC.

Os na welir addurniadau,
  Ond yn heirdd balasau'r fro,
Gwir ddedwyddwch ni fedd weniaith,
  Aiff i'r bwthyn ar ei thro;
*Gwena* llawer tlawd mewn angen,
  Gyda mynwes lawn o hedd;
*Wyla* eraill pan yn profi
  Holl bleserau'r dawns a'r wledd.

Dyna deulu yn preswylio
  Yn y bwthyn bychan draw,
Lle mae tlodi a llawenydd
  Yn cydgerdded law yn llaw;
Gellir gweled yn eu llygaid,
  Gellir darllen yn eu gwedd,
"Dyma'r fan teyrnasa cariad,
  "Dyma gartref llawn o hedd."

Nid oes ganddynt ddrudfawr wisgoedd,
  Dim o wychder gau y byd,
Ni chanfyddir heirdd goedwigoedd
  Yn cylchynu'r annedd glyd;
Hwy ni feddant gyfoeth daear,
  Mewn angenion maent yn byw;
Etto tlodi'n llawn o fawredd,
  Angen llawn dedwyddwch yw.

Er na feddant offerynau
  Cerdd, er ceisio twyllo'u clwy',
Si yr awel wrth fyn'd heibio
  Sydd beroriaeth iddynt hwy;
Clywed moliant yn dyrchafu
  At y nef o enau'r plant,

A rydd filwaith fwy hyfrydwch
  Iddynt hwy nag unrhyw dant.

Gwel hwy'n awr yn cydymgynull,
  Oll yn drefnus, oll yn lân,
Delw cariad sydd i'w weled
  Arnynt oll, yn ddiwahan;
Cariad yw eu hunig reol,
  Dyna'u balm i boen a chur;
Mor ddymunol ydyw'r olwg
  Ar effeithiau cariad pur!

Difyr iawn i'r plant o'u deutu
  Ydyw mwyniant boreu oes;
Gair y tad sydd gyfraith iddynt—
  Ni fedd cariad eiriau croes;
Mae llawenydd yn eu gwênau
  Sydd yn herio dynol ddawn,
Fel yn dwyn rhyw ddelw egwan
  O anneddle ddedwydd iawn.

Maent yn awr, gan gydymgrymu,
  Yn nesâu at orsedd gras,
Gwrando'r weddi—clyw'r ocheuaid—
  Ceisia brofi'r nefol flas;
Chwyddawg eiriau nid oes ganddynt,
  Iaith y galon yw eu llef,
Ond mae rhywbeth yn eu gweddi
  Sydd yn swyno engyl nef.

Myrdd cyflymach na'r goleuni,
  Yn ymsaethu trwy y nen,
Mae eu gweddi felus, ffyddiog,
  Nes cyrhaedda'r orsedd wen:
Fe anghofir chwerw ofid,
  Ing a phoen Calfaria fryn,
Cyn anghofir rhoddi ateb
  I'r gweddiau taerion hyn!

Pan ddel croesau i'w cyfarfod
  Yn eu taith trwy'r anial fyd,

Puro'u calon—lladd eu llygredd—
  Wneir trwy'r croesau hyn i gyd:
Dwylaw Iôn wna ddal eu henaid
  Rhag eu llethu gan un baich;
Yn mhob trallod a gorthrymder,
  Pwysant ar ei gadarn fraich.

Dacw'r ffrwd yn araf lifo
  Heibio iddynt, heb ymdroi,
Felly eu holl ddyddiau hwythau
  Sydd o un i un yn ffoi;
Eu dedwyddwch, trwy eu hymdaith,
  A ymleda, hyd y bedd,
Yna'r *ffrwd* o gysur feddant
  A gyrhaedda *fôr* o hedd.

Dyna goeden fu am flwyddau
  'N syllu ar y bwthyn llon,
Fel pe byddai yn ymgrymu
  Mewn gwyleidd-dra ger ei fron;
Tybiais glywed yr awelon,
  Gyda'u rhyfedd, nerthol ddawn,
Rhwng ei changau hardd yn sibrwd,
  "Dyna deulu dedwydd iawn!"

DYVNWAL MOELMUD.

# HANES Y FELINFOEL
## AM Y
## PYMTHEG MLYNEDD A DEUGAIN DIWEDDAF.

---

GAN MR. WILLIAM GEORGE, FELINFOEL,
*(Gwilym ab Ioan.)*

---

## RHAGYMADRODD.

MAE ebargofiad ac esgeulusiad yn dàl perthynas agos iawn â'u gilydd; y blaenaf yw y gell ddû a thywell sydd yn difa pob peth a fyddo yn cael ei daflu iddi, ac nid yw byth yn gollwng neb o'r carcharorion yn rhydd. Yr olaf yw y swyddog sydd yn llusgo amgylchiadau, damweiniau, teimladau, nodweddau, a phersonau, ac yn eu gosod o dan gloion cedyrn yn y tywyllwch, allan o afael yr Athronydd, yr Henafiaethydd, y Bardd, a'r Cywreinddyn. Mae llawer o orchest-gampiau gwedi cael eu cyflawni, pa rai oeddynt yn deilwng o gael eu cofrestru yn mhlith prif hynodion yr oesau. Mae llawer o wrthrychau yn cael eu caboli gan law gywrain Anian ac Amser, yn ddigon hardd a phrydferth i fod yn destynau ymchwiliad yr Henafiaethydd, er mwyn boddio ei chwaeth; ond y mae llaw oer esgeulusiad gwedi ymaflyd ynddynt, a'u gosod yn garcharorion tufewn i ddyfn-gell gaddugawl ebargofiad, heb i'r Henafiaethydd gael eu gweled, heb i'r Athronydd gael eu trychwalu, ac heb i'r Bardd gael ehedeg yn ei ddychymyg i wneud un ffugyr o honynt. Mae amrywiol ddyffrynoedd prydferth yn dàl blodau amryliw ar eu mynwesau clyd, i wasgaru eu peraroglau yn chwa yr awelon, ac yn fath o neuaddau cyngherddawl i etifeddion y goedwig i ddadseinio caniadaeth a molawd i Awdwr Anian; ond y mae esgeulusiad gwedi eu gadael yn llaw anghofrwydd, ac nid oes un arluniwr gwedi dangos prydferthwch eu tirwedd têg ar bapyrlen erioed. Mae llawer treflan a phentref gwedi eu gadael yn ddisylw gan esgeulusiad, a'u sathru dan draed ebargofiad; ac ni welir yno yn awr ond adfeilion dirywiedig o'r lle a fu gynt yn ardderchog; ac nid oes neb a fedr

ddywedyd pwy oeddynt y trigolion a fuont yno yn byw nac yn marw. O herwydd hyny, y mae llawer Athronydd yn cysgu yn llwch yr oesau; ac nid yw yn ddichonadwy i neb o'r byw olrhain ei achau a mynegu ei enw! Mae llawer Bardd gwedi canfod Anian â'i lygaid, a theimlo awen â'i galon, ac wedi marw heb gael ei weled gan y byd. Mae hefyd lawer dyngarwr gwedi ei eni a'i fagu yn Nghymru, yn feddianol ar galon cyn wresoced ag eiddo John Howard, ond o herwydd esgeulusiad, y mae yn ngweryd oer distawrwydd, heb un gôf-lech i fynegu am dano wrth yr olafiaid, a dyfroedd oerion difaterwch gwedi diffodd y cariad oedd ganddo, ac anadl rhewedig annheimladrwydd wedi selio i fyny ffynonellau ei serchiadau, fel nas gall y byw ei efelychu yn ei ddaioni. Ond y mae yn ddywenydd genym feddwl fod ysbryd hanesyddiaeth yn gwrthweithio dylanwad ebargofiad yn mhob ystyr.

Mae i bob gwrthrych ei hanesyddiaeth, ac yn mhlith y lluaws o wrthrychau cylchynol a ymddangosant yn deilwng o sylw yr Hanesydd, cymhellir yr ysgrifenydd, trwy nerth teilyngdod y lle i gymmeryd pentref y Felinfoel, o dan ei ystyriaeth, yn y drefn ganlynol:—

## PENNOD I.

### EI SAFLE—EI ENW—A THARDDIAD YR ENW.

Y Felinfoel sydd bentref hardd a chyfrifol, ar ddyffryn tawel a ffrwythlawn, oddeutu milltir i'r Dwyrain Ogleddol o dref Llanelli, swydd Gaerfyrddin. Mae y brif ffordd sydd yn arwain o Lanelli i Lanon, ac oddiyno i Gaerfyrddin, yn myned trwy ganol y pentrêf, gan ei ranu i'r Gogledd a'r Dëau. Mae heol arall a elwir Heol Ysgyborisaf, yn arwain o'r lle i Gaerfyrddin, a'r cyfeiriad hyny, mae hon yn ymadael a'r pentref gerllaw y fan lle yr oedd yr hen addoldŷ yn sefyll, ac yn myned allan i heol Llanelli wrth Dŷ'r Onen, Mynydd Croeslaw. Yr heol sydd yn arwain o'r pentref tua'r Dwyrain yw Heol Clyngwernen. Ymadawa hon a'r pentref gerllaw y *White Lion*, ac arweinia yn mlaen tua chyfeiriad Llangenech. Heol arall a elwir Heol y Capel sydd yn dechreu wrth yr un tŷ, ac yn cyfeirio i'r Dëau; mae hon yn myned allan i'r ffordd fawr sydd yn arwain o Lanelli i Abertawy wrth

ffermdŷ y Capelisaf. Cangen o'r heol hon sydd yn arwain o'r pentref tua Gwaith alcan Dafen. Mae'r hen rheilffordd a agorwyd gan Mr. Rabby yn 1802, o'r tu Gogleddol i'r pentref; mae hon yn gyfleus i deithwyr a fo'n gwynebu i lawr tua'r hen Ffwrnes, ger Llanelli, ac hefyd i'r rhai fo'n gwynebu i'r lan tua Horeb a Brondini. Rhana afon Lliedi y pentref i ddau ddosparth; mae yr oll o'r tu dëau i'r afon, neu y rhan orllewinol o'r pentref, yn maenor (*hamlet*) Hengoed; a'r oll o'r tu aswy i'r afon, neu y rhan Ddwyreiniol o hono, yn maenor y Westfa; ond er hyny telir hanner y trethi a ddisgynant ar y felin, yr hon sydd yn y Westfa, i faenor *Berwick*, er nad yw y rhan agosaf o Ferwick yn gorwedd tufewn i hanner milldir i'r pentref. Yr achos dechreuol o'r ymarferiad hyn oedd, i berchenog cyntaf y felin yn y lle hwn wneyd ammod â thrigolion maenor Berwick y buasai iddo ef dalu hanner trethi y felin i'w mhaenor hwy, os byddai iddynt ddyfod â'u llafur i falu i'w felin ef. Fel yna mae'n debyg y cyttunasant, ac y mae yr ammod yma er ei hynodrwydd gwedi parhau mewn grym am flynyddau lawer, ac fel yna y mae Mr. Buckley, Llanelli, ei pherchenog, yn talu yn bresenol. Tardda afon Lliedi, yr hon sydd yn rhannu y pentref, mewn llŷn bychan oddeutu 200 o latheni i'r Gogledd o Amaethdŷ Wastodwen, ar Fynydd Sylen, plwyf Llanelli; oddiyno dylifa i lawr heibio Blaenlliedi (yr hwn a gafodd ei alw felly oherwydd ei fod yn agos i'w tharddiad) yna cyrhaedda bentref Horeb; yn y lle hwnw mae rhan o'r dwfr yn cael ei ddefnyddio at wasanaeth un o'r melinau sydd yno, ac yna llifa i lawr tua'r Felinfoel. Yn y lle hwnw defnyddir rhan o'i chynwysiad at wasanaeth y felin sydd yno, ac wrth y bont sydd yn ei chroesi yn y pentref y mae cored wedi ei gwneyd er trosglwyddo rhan o honi at wasanaeth peiriandyrnu yn Llanlliedi. Màn hyn hefyd mae Bedyddwyr y Felinfoel wedi gwneyd bedyddfan hardd a chyfleus. Yna ymadawa a'r pentref, gan redeg i lawr tua thref Llanelli, a phan gyrhaedda yno, mae yn dra defnyddiol etto at wasanaeth dwy felin, sef y felin uchaf a'r felin isaf; yna cymera ei rhedfa yn mlaen gan ranu y dref yn ddau ddosparth, ac abera yn y môr o'r tu Gorllewinol i Lanelli. Er nad yw yr afon ond oddeutu saith milltir o hyd o'i tharddiad i'w haber, er hyny mae yn dra defnyddiol at wasanaeth dyn ac anifail.

Cafodd y pentref ei alw yn *Felinfoel*, oddiwrth enw yr hen

felin a safai gerllaw afon Lliedi, yr un fàn ac y saif y felin bresenol. Cyn dechreu adeiladu y pentref galwyd y felin hono yn Felinfoel: ac yna pan adeiladwyd y rhan gyntaf o'r pentref, galwyd ef ar yr enw uchod, yn ol enw y felin.

Gwahanol farnau a fodolant o berthynas i darddiad y gair Felinfoel, ond gan yr ystyriwn na fyddai eu holrhain yn ateb un dyben gadawn hwynt o'r neilldu, a dygwn yn mlaen y farn fwyaf gyffredinol ar y pwnc, sef yw hyny, i'r felin gael ei galw ar y dechreu yn Felinfoel, mewn gwrthgyferbyniad i Felinyrafr neu Felingyrnig, yr hon oedd ychydig yn uwch i'r lan ar yr un afon. Yr oedd y felin olaf yn hynod gyrnig o ran ei hadeiladaeth, a chan fod y blaenaf yn ymddifad o'r fath addurniadau, a thrwy hyny yn foel o ran cyrn, &c. galwyd hi yn Felinfoel; ac felly mae wedi cadw ei henw hyd y dydd hwn.

## PENNOD II.

### EI SEFYLLFA YN Y FLWYDDYN 1800.

Nid oedd y pentref uchod ond bychan yn y flwyddyn 1800, wrth ei gyfartalu â'r hyn yw yn bresenol. Nifer y tai a gynnwysai o bob gradd yn y cyfnod hwnw oedd chwech ar hugain, a'r rhai hyny yn dra gwasgaredig; yr oedd pedwar o'r nifer yna yn amaethdai, sef Llanlliedi, y Twyn, y Clŷn, a Thanygraig. Hefyd yr oedd capel y Bedyddwyr yn un yn gwneyd y rhif i fynu, yr hwn a elwid yn gyffredin yr amser hyny yn Dŷ-newydd, er ei fod yn 91 o flwyddi oed. Safai tri thŷ ereill gerllaw yr Addoldŷ; tri wrth y Banc, y felin a thŷ y felin; dau dŷ wrth y llyn perthynol i'r felin yr efel, a thŷ y shingrig. Yr oedd hefyd naw o dai bychain gwasgaredig ereill, pa rai a feddianwyd gan John Williams, Robert Samuel, Thomas Francis, Mary Morgan, Jane Lewis, David Mitchell, Ann Rees, John Richards, a John Bonnell. Nid oedd un math o fasnachdy yn y pentref yn y cyfnod hwn.

Wrth ystyried sefyllfa dysgeidiaeth yr amser crybwylledig, gellir dywedyd am y Felinfoel, ei fod yn rhagori yn y peth hwn ar un lle arall yn y cymydogaethau. Dywedir gan hen bobl barchus, ei fod wedi bod am amser yn fath o athrofa i'r ardaloedd oddiamgylch. Rhai o'r hen bobl hyn a ddywedasant wrth yr ysgrifenydd, eu bod hwy wedi bod yn teithio am amser maith, hyd yn nod o dref Llanelli, tua'r Felinfoel, er derbyn dysgeid-

iaeth gan Mr. David Lewis, Gellygaled-fach. Efe oedd yr ysgolfeistr yn y flwyddyn 1800. Cadwai ysgol yn yr hen addoldŷ, gan nad oedd ysgoldŷ gwedi ei godi yr amser hyny. Mae yn debyg fod Lewis yn ysgolhaig lled dda, a bod ganddo ysgol luosog.

Fel y crybwyllwyd yn flaenorol, nid oedd yn y pentref ond un addoldŷ, a hwnw yn perthyn i'r Bedyddwyr. Y gweinidogion perthynol i'r lle y cyfnod hwnw oeddynt Meistriaid Morgan Rees a Dl. Davies. Nifer yr aelodau oeddent oddeutu 120. Er mai hanes o'r lle am y pymtheg mlynedd a deugain diweddaf sydd yn ofynol yn ol y testun rhoddedig, er hyny ystyriwn na fyddai yn drosedd ynom, nac yn un anfri ar y testun, i roddi ychydig o hanes yr Eglwys uchod oddiar ei dechreuad, yr hyn sydd fel y canlyn:—Gwedi i'r Bedyddwyr yn yr ardal hon fod am amser yn cadw cyfarfodydd mewn tai anedd, dechreuwyd ymgynghori am adeiladu tŷ cwrdd. Cyflawnwyd eu hamcan, a chodwyd y tŷ yn y flwyddyn 1709, ar y rhan ddwyreiniol i'r fynwent bresenol. Gelwid y tŷ hwnw yn Felinfoel gan amryw, oddiwrth y lle. Galwai y cymydogion ef y Tŷ-newydd, yr hyn sydd yn beth cyffredin ar hyd y wlad am hir flynyddau ar ol codi tŷ cyfarfod; ond gan ei fod yn agos i'r dref, galwyd ef yn Llanelli gan rai o bell. Yn ol hanesyddiaeth, cawn fod y lle hwn yn cael ei gyfrif megis eglwys ar ei phen ei hun, a dau weinidog iddi, sef Meistriaid Morgan John a John Davies; ond mae yn debyg mai cangen o Abertawy ydoedd am dros ugain mlynedd wedi hyny, a gweinidogion Abertawy ydoedd y ddau wr uchod, ond eu bod eill dau yn pregethu yn eu cylch yn y lle hwn. Yn y flwyddyn 1725, dechreuodd Mr. David Owen bregethu yn y gangen hon o'r eglwys. Yn y gymanfa a gynhaliwyd yn y lle yn y flwyddyn 1733, trefnwyd i'r gangen hono ymgorffoli yn eglwys ar ei phen ei hun. Meddylia rhai i'r eglwys ymgorffoli yn gynt, ond mae llythyr y gymmanfa am y flwyddyn hono yn eglur dystio mai y pryd hyny y bu. Mae yn debyg fod Mr. Dd. Owen gwedi cael ei ordeinio ychydig cyn y gymmanfa, a'i fod yn perthyn i'r eglwys hon ac eglwys Abertawy, ac yna pan gorffolwyd yr eglwys uchod, dewiswyd ef yn weinidog iddi. Yr oedd wedi bod cyn hyn yn byw yn eu plith, ac yn pregethu iddynt am ddeng mlynedd. Nifer yr aelodau yn yr adeg hyn oedd oddeutu hanner cant. Yn fuan ar ol ei chorffoli yn eglwys dechreu-

odd Mr. Evan Thomas bregethu, ac ymddangosai yn wr ieuanc duwiol a gobeithiol iawn. Danfonwyd ef i'r ysgol i Gaerodor er dysgu Saesoneg, a'i hyfforddi mewn pethau angenrheidiol. Bu yno am flynyddau, ac ordeiniwyd ef yn *Bridgewater* yn 1749; ac yn y lle hwnw gorphenodd ei weinidogaeth a'i ddyddiau yn Awst, 1757. O gylch yr un amser dechreuodd un arall o'r aelodau bregethu, sef Mr. Morgan Davies. Bu yn eu plith yn pregethu amryw flynyddau. Yr oedd yn wr deallus, ac yn hardd ei rodiad, ac yr oeddid yn son am ei ordeinio ef. Ond tra buont yn oedi, gwelodd yr Arglwydd yn dda ei symud oddiwrthynt yn y flwyddyn 1748, yn 48 oed. Yn nghylch y flwyddyn 1744, cododd yn yr eglwys ddau wr ieuanc ereill, sef Mr. Morgan Rees a Mr. John Duckfield. Yn 1746, bu Duckfield yn Nghaerodor yn yr ysgol, ac yna dychwelodd yn ol. Bu y ddau hyn yn pregethu lle byddai galwad iddynt dros lawer o flynyddau. O'r diwedd, gan fod Mr. David Owen yn heneiddio, ac yn gwanhau, barnwyd yn oreu i ordeinio y ddau wr yna er mwyn bod yn fwy o gynnorthwy i'w bugail parchus, yr hwn oedd gwedi bod mòr llafurus a defnyddiol yn eu plith cyhyd o amser. Felly ordeiniwyd Meistriaid Rees a Duckfield yn 1761. Nid hir gwedi hyny y bu Mr. David Owen yn eu plith; ond amser ei ymddattodiad a nesäodd. Ymadawodd â'r anialwch, ac aeth trwy'r Iorddonen ar y 19eg o Fehefin, 1765, yn 72 oed. Ar fyr canlynodd Mr. John Duckfield ef, canys yntau a fu farw Ebrill 20fed, 1766, yn 48 oed. Ar ol marwolaeth y ddau uchod, nid oedd gan yr eglwys ond Mr. Morgan Rees; a chan fod galwad am bregethu mewn cynnifer o leoedd, nid oedd yn alluadwy iddo gadw y cyrddau mewn trefn; ond nid hir y buwyd nes i Dduw weled yn dda gyfodi dau o'r aelodau i gynnorthwyo yn y weinidogaeth, sef Mr. William Hughes a Mr. David Owen (mab y gweinidog cyntaf.) Ordeiniwyd Mr. Wm. Hughes yn y flwyddyn 1774; a thua 1770, bedyddwyd Mr. Sampson Davies, yr hwn oedd wedi bod yn pregethu gyda'r Presbyteriaid am 30 o flynyddau cyn hyny. Bu hwn yn bregethwr cynnorthwyol am amryw flynyddau: a bu farw yn 1788. Hefyd bu farw Mr. Dd. Owen yr ail yn 1780, a Mr. Wm. Hughes, cydweinidog Mr. M. Rees, yn 1783. Yn 1782, dechreuodd Mr. David Powell bregethu, a gwasanaethodd yr eglwys yn ffyddlawn fel cynnorthwywr i'r gweinidog am bedair blynedd, ac yna neillduwyd ef i

gyflawn waith y weinidogaeth i gydweinyddu â'r hen weinidog, Mr. Morgan Rees; ac yna yn y flwyddyn 1789, cafodd ei ddewis i fugeilio yr eglwys yn Nottage, swydd Forganwg. Bu yno yn weinidog llafurus a llwyddianus dros saith mlynedd, pryd y terfynodd ei waith a'i daith mewn llawn hyder fod ei farwolaeth yn elw iddo, yn 40 oed. Gwedi symudiad Mr. Powell, nid oedd yma un gweinidog ond yr hen wr, Mr. Morgan Rees, ac yr oedd yntau yn byw yn agos i Salem, Llangefelach, ac yn gwasanaethu yr eglwys hono ddau Sabbath yn y mis; am hyny yr oedd yr eglwys hon yn ymddifad iawn hyd ddyfodiadyr hybarch Daniel Davies i'w plith yn y flwyddyn 1791. Bu Mr. Morgan Rees farw yn 1808, ac ar ol ei farwolaeth ef cymmerodd Mr. Dl. Davies holl ofal yr eglwys.

## PENNOD III.

### EI GYNNYDD ODDIAR HYNY MEWN ADEILADAETH, DYSGEIDIAETH, A MOESOLDEB.

Cynnydd y pentref mewn Adeiladaeth oddiar y cyfnod crybwylledig sydd fel y canlyn. Y tŷ cyntaf a adeiladwyd yn y lle yn y ganrif bresenol oedd tŷ Mr Cox, yr hwn dŷ a adnabyddir yn gyffredin wrth yr enw Palas y Felinfoel. Adeiladwyd hwn yn y flwyddyn 1803, ar draul y boneddwr uchod, ar ran o fferm y Twyn, gerllaw yr hen addoldŷ. Mae y palas hwn yn feddiant i R. Nevill, Ysw., (mab y diweddar R. J. Nevill, Ysw., *Llangenech Park*,) er ys saith mlynedd; pan briododd yno yr aeth efe a'i foneddiges i fyw, ac yno y maent yn deulu parchus yn bresenol. Yn 1810, codwyd *seat* Syr D. Dundas, Barwnig, yr hon a elwir Alltygove; mae hon oddeutu tri chant o latheni o'r pentref, rhwng hyny a Llanelli. Mae hon yn bresenol yn meddiant ei fab, Syr John Dundas, Barwnig. Y tafarndŷ cyntaf a godwyd yn y lle oedd y *White Lion*; adeiladwyd hwn yn 1815, ar draul Mr. Jno. Bassett. Tua'r un amser codwyd y *King's Head*, a dau dŷ ereill gerllaw iddo, gan Mr. John Bonnell. Yn 1825, adeiladwyd y *Bear*, yn nghyd â phedwar o dai ereill gan Mr. Benjamin Price. Yn 1817, cododd Mr. Evan Evans dri thŷ ereill gerllaw y Twyn, a dau yn gyfagos iddynt mewn saith o flynyddau ar ol hyny. Yn y flwyddyn 1828, adeiladodd Mr. David Roberts, ddau dŷ ar Ynys-y-llyn, ac yn fuan ar ol hyny adeilad-

odd Meistri Edward Hughes, David Hughes, Wm. Hughes a John Hughes, bymtheg ereill; felly cynnwysa rhan o'r Pentref a elwir Ynys-y-llyn 17 o dai. Yn 1833, adeiladwyd y *Farmer's Arms*, ar draul Mr. David Lewis. Yn y flwyddyn hono hefyd adeiladodd Mr. Buckley, Llanelli, dŷ y bont. Nid hir ar ol hyn y buwyd cyn ffurfio clwb adeiladu; ac yna yn y flwyddyn 1836, adeiladwyd 32 o dai, sef 25 yn y restr a elwir yn bresenol yn *Union Row*, yr hon sydd yn arwain o'r addoldŷ tua Llanelli, a saith yn y restr y tu Gorllewinol o heol *Adulam*. Yn y flwyddyn hon adeiladodd Mr. Nevill ddau dŷ gerllaw y *King's Head;* a Meistri Rees Rees a John Hopkin bob o un yn yr un restr â hwynt. Yn 1837, adeiladwyd yr *Union Tavern*, ar draul Mr. John Gibson; tua'r amser hyn hefyd adeiladodd Meistri John Lewis, Isaac Rees, Morgan Davies, Thos. Protheroe, John Jones, a John Bonnell, bob o dŷ yn y restr a elwir y *Farmer's Row*. Ychydig ar ol agoriad yr *Union Tavern*, ffurfiwyd clwb adeiladu drachefn; ac yna yn 1840, adeiladwyd 25 o dai, sef 10 yn y restr a elwir *Bridge Row*, un o'r rhai hyn a elwir yn bresenol yn *Royal Oak;* 9 yr ochr ddwyreiniol i heol Adulam, 4 yn y *Farmer's Row*, a 2 yn y rhan uchaf o'r *Union Row*. Mr. Samuel Williams ddechreuodd adeiladu y *Western Row*, codwyd ei efel a'i dŷ yn 1843; ychydig ar ol hyn adeiladodd Meistr Thomas Samuel a David Jones bob o 2 dŷ; ar ol hyny codwyd 3 ar draul Mr. David Williams, 2 gan Mr. David Hughes, ac un gan Mr. John Williams; yn y cyfnod hyn adeiladodd Mr. David Williams y tŷ a elwid y *Bird-in-Hand*, yr hwn sydd yn bresenol yn siop, ac yn meddiant Mr. James Lewis. Cynnwysa y *Millfield Row* 10 o dai; adeiladwyd y tŷ cyntaf gan Mr. Griffith William yn 1844, yna cododd Meistri William Samuel, Noah Mainwaring, Jonah Thomas, William Thomas, a John Hopkins bob o dŷ, ac yn y flwyddyn 1849, adeiladwyd yno 4 ar draul Mr. James Lewis. Yn 1848, dechreuwyd adeiladu palas y Westfa, ar draul C. W. Nevill Ysw., ac yno mae y boneddwr gwladgarol a'i deulu yn trigfanu; mae hwn yn adeilad hardd, ac mewn màn hynod o iachus, ychydig i'r dwyrain ogleddol o'r pentref; ychydig ar ol hyn codwyd y *lodge* berthynol iddo, a 2 ereill gerllaw Llanlliedi. Adeiladwyd y *Red Lion* yn 1852, ar draul Mr. Thos. Roberts; y *Greyhound*, yn 1854, ar draul Mr. James Lewis; y *Cross Keys* yn1855, ar draul Mr. John Mathias. Yr

oedd y tŷ nesaf i'r *Cross Keys* wedi ei godi ychydig cyn hyny gan yr un perchenog. Yn 1852 adeiladwyd y ddau dŷ a elwir Pantteg, ar draul Meistri David Jones a Wm. George; mae tŷ ar waith yn bresenol gan Mr. John Oldham, gerllaw siop Mr. James Lewis. Ionawr diweddaf dechreuwyd adeiladu Eglwys Sefydledig yn y rhan Ddwyreiniol o'r pentref. Mae i fod o ran ei dull a'i maintiolaeth yn debyg i eglwys Sant Eli, Llanelli. Fel y dangoswyd yn flaenorol, nifer yr holl dai yn y pentref yn 1800 oeddynt 26, ac y mae yr holl gynnydd oddiar hyny yn gynnwysedig yn yr hyn a nodwyd genym. Gyda phriodoldeb gellir dywedyd mai Meistri Sims, Willyams, Nevill, a'u Cwmpeini sydd gwedi bod yn gynhyrfiol achos i'r fath gynnydd yn y lle am y blynyddau diweddaf. Mae gweithiau glo mawrion gan y cwmpeini uchod yn y gymydogaeth hon, ac felly mae tynfa llawer i fyw yn y pentref, gan ei fod mor gyfleus i'r gweithiau. Teilynga y boneddigion uchod y clod a'r parch mwyaf gan drigolion y pentref a'r gymydogaeth, am eu boneddigeiddrwydd a'u gofal gwastadol am eu gweithwyr a'u cymydogion tylodion, yn neillduol felly mewn amseroedd isel a chaled ar weithwyr.

Am gynnydd dysgeidiaeth y pentref, gellir dweyd fod cyfryngau gwybodaeth, a manteision addysg gwedi cynnyddu yn fawr oddiar amser Mr. D. Lewis, yr hwn oedd ysgolfeistr y lle yn 1800. Yr anfanteision mwyaf a fu yma, fel llawer o leoedd ereill, oedd symudiadau mynych yr ysgolfeistri. Enwau yr ysgolfeistri a fuont yn y lle fel athrawon yn y pymtheg mlynedd a deugain diweddaf ydynt Meistri David Lewis, Thos. Williams, Samuel Williams, John Watts, Thomas Jones, William Williams, John Bowen, Jno. Vaughan, Joseph Clement, Edward Jones, John Treharne, John James, Richard Williams, Thos. James, David Jones, John Evans, Thomas Richard, Dd. Williams, a Wm. George, yr ysgolfeistr presenol. Yn yr hen addoldŷ yr arferid cadw ysgol hyd amser Mr. Bowen, ac yna yn 1822, tybiai yr eglwys yn oreu i adeiladu ysgoldŷ gerllaw y capel. Cyflawnwyd eu hamcan, a Bowen oedd y cyntaf a aeth i gadw ysgol yn yr ysgoldŷ hwnw. Mewn naw mlynedd ar ol hyn, gwnaeth yr eglwys gytundeb â R. J. Nevill, Ysw., am ddarn o dir er helaethu y fynwent, ac yn yr adeg hono aeth yr ysgoldŷ yn feddiant i'r boneddwr hwnw; ond yn fuan ar ol hyn, daeth yr eglwys i benderfyniad i adeiladu ysgoldŷ drachefn ar ran uchaf y fyn-

went. Yma bu yr ysgol yn cael ei chynnal hyd y flwyddyn 1848, pan ddaeth Mr. Wm. George i'r lle; ac yna mewn ychydig amser, wedi gweled arwyddion am ysgol dda, penderfynodd yr eglwys ar unwaith i adeiladu ysgoldŷ helaethach a mwy cyfleus nâ'r hên. Yn y flwyddyn hono codwyd ysgoldŷ hardd ar fán iachus a dymunol yn nghanol y pentref. Mesur tufewnol yr ysgoldŷ hwnw yw 45 wrth 25 o droedfeddi. Costiodd yr ysgoldŷ yn nghyd â'r muriau amgylchynol iddo, y swm o ddau cant o bunnau; ond erbyn heddyw y mae yn hollol rydd o ran dyled, ac felly yn goron coffadwriaeth i'r eglwys a'r gymydogaeth am eu hymdrechion canmoladwy. Penderfynwyd fod yr ysgol newydd i gael ei chario yn mlaen yn ol y *British System;* ac yna yn adeg adeiladu yr ysgoldŷ bu Mr. George yn derbyn hyfforddiadau i'r perwyl hyny. Oddiar agoriad yr ysgol newydd, gellir dywedyd ei bod gwedi cael ei chario yn mlaen yn rheolaidd a sefydlog hyd yn bresenol. Yr anfanteision mwyaf yn yr ysgol hon, (fel y mae yn bod yn gyffredin mewn ysgolion ereill mewn cymydogaethau o'r cyffelyb), er codi llawer o ysgolheigion medrus yw, fod diffyg ymdrech mewn amryw rieni oddiwrth y rhai y gellid disgwyl pethau amgenach; ac hefyd eu bod pan byddo eu plant, yn enwedig eu meibion, yn tyfu i fynu, ac yn alluog i wneyd ychydig drostynt eu hunain, yn eu danfon i'r gwaith glo, &c., a thrwy hyny yn eu difreinio o addysg wir angenrheidrol. Mae prisiau yr ysgol yn rhâd er ateb y dosbarth gweithiol; ond er hyny mae rhai plant yn cael eu codi yn y pentref yn hollol ddiddysg, o herwydd difaterwch eu rhieni. Ond mae yn ddywenydd genym hysbysu nad yw y cymmeriad anegwyddorol yna yn perthyn dim i'r rhan luosocaf o benau teuluoedd y pentref a'r gymydogaeth, gan eu bod hwy bob amser yn ystyried mai eu dyledswydd yw gwneyd eu goreu er diwyllio ac ymëangu gwybodaeth eu plant, fel y byddant, os cânt ddyddiau ar y ddaear, yn fwy defnyddiol yn eu hoes, ac yn amgenach aelodau cymdeithas. Mae C. W. Nevill, a R. Nevill, Ysweiniaid, yn nghyd â'u boneddigesau, yn barchus iawn o'r ysgol, er nad yw yn dal un berthynas âg Eglwys Loegr. Maent wedi talu am ysgol llawer o blant amddifaid y pentref am flynyddau. Yn mhob arholiad blynyddol, anrhegant yr holl ysgolheigion â thê a theisien, a gwobrwyant yr ysgolheigion goreu a ffyddlonaf â llyfrau a mapiau heirdd a defnyddiol. Mae hyn yn gysur i'r

athraw, ac yn annogaeth fawr i'r plant i fyned yn mlaen yn eu gyrfa addysgiadol.

Fel y crybwyllwyd, Mr. Daniel Davies ydoedd gweinidog yr eglwys yn 1800, ac yna yn 1804, aeth yn angenrheidiol i dynu y rhan fwyaf o'r hen dŷ cwrdd i lawr, ac i ychwanegu tair troedfedd ar ddeg at ei hyd, a gosodwyd ynddo lofftydd a chadeiriau newyddion. Y draul at hyn oedd oddeutu £200, yr hyn a dalodd yr eglwys a'r gymydogaeth heb ymofyn cynnorthwy gan eglwysi ereill. Oedran yr hen dŷ y pryd hyny oedd 95 o flynyddau, ac nid 105, fel y dywedir mewn rhai manau. Awst y 26ain, 1806, neillduwyd Mr. David Bowen i gyflawn waith y weinidogaeth i gydlafurio â Mr. Dl. Davies, ei dad parchus yn yr Efengyl, pryd y pregethodd Mr. J. Watkins i'r gweinidog, Mr. T. Lewis i'r Eglwys, a Mr. Joseph Harries i'r gynnulleidfa. Yr oedd Bowen yn aelod gwreiddiol o'r eglwys, ac wedi bod yn gynnorthwywr defnyddiol am flynyddau. Yn 1831, rhoddodd yr eglwys hon lythyr o ollyngdod i 161 o'i haelodau i ymgorffoli yn nhref Llanelli, nid o herwydd annghydfod mewn barn na dysgyblaeth, ond er mwyn lledu yr achos goreu. Aeth Mr. Dd. Bowen gyda y brodyr i'r dref, ac arosodd Mr. Dl. Davies gyda'r hen gyfeillion yn y Felinfoel. Yn 1832 cafodd yr aelodau ag oeddent yn byw o amgylch Llwynhendŷ a'r Morfa eu corffoli yn eglwys yn Soar, Llwynhendŷ; eu rhif oedd 44. Yn y flwyddyn 1834, corffolwyd yr aelodau oddiamgylch Llanedi, Pontarddulais, a Llanon yn eglwys ar eu penau eu hunain yn Sardis. Mae eglwys y Felinfoel wedi bod yn offerynol i adeiladu neu i feddiannu pump o dai cyrddau, sef tŷ ar Fynydd Sylen, Soar, Llwynhendŷ, Sardis, Horeb, a Bethlehem, Penbre. Oddeutu dwy flynydd yn ol, ordeiniwyd Mr. William Roger (cynnorthwywr yn y Felinfoel) yn weinidog i'r eglwys olaf. Nid yn gyffredin y coronwyd gweinidogaeth â mwy o lwyddiant nâ'r eiddo Mr. Daniel Davies. Ceir iddo fedyddio yn ei oes dros saith cant o ddynion ar broffes o'u ffydd yn Iesu Grist. Bu trwy y Gogledd bedair gwaith ar ddeg, ac a welodd lwyddiant mawr ar ei ymdrechion canmoladwy. Gwelodd bedair o gangenau yn cael eu corffoli yn Eglwysi, ac un o'i feibion (sef Mr. Elias Davies) yn pregethu yr Efengyl. Cafodd ei ddal yn y weinidogaeth ddeuddeg a deugain o flynyddau â'i goron ar ei ben, sef 6 yn Ffynonhenry, a 46 yn y Felinfoel. Cafodd hefyd y fraint o bregethu hyd o fewn ychydig

fisoedd i'w fedd. Bu farw yn 1837, yn 81 oed. Rhif yr aelodau yn yr amser hyn oedd oddeutu 250 Yr oedd yma Ysgol Sabbathol luosog. Yn 1839, daeth Mr. David Evans yn weinidog yma; ac yn 1840, penderfynodd yr eglwys i adeiladu Adulam, sef y capel presenol. Costiodd hwn oddeutu £1,500; ond er mawredd y swm, nid oes ceiniog heb glirio. Mae hwn yn addoldŷ hardd, helaeth, a chyfleus; ei fesur tufewnol yw 57 wrth 45 o droedfeddi. Yn y flwyddyn 1845 rhoddwyd galwad i Mr. David Edwards, a gwasanaethodd yr eglwys yn ffyddlon am dymmor bŷr, ac yna ymadawodd â'r lle. Yn fuan ar ol hyn, rhoddodd yr eglwys alwad i'r hybarch Daniel Jones, gynt o Lynlleifiad; ac yn 1846, cymmerodd ofal yr eglwys, ac a'i gwasanaethodd fel gweinidog ffyddlon a pharchus, hyd ei ymadawiad yn 1853. Bu yr eglwys ar ol hyny flwyddyn a hanner cyn dyfod i'r penderfyniad pwy a ddewisent fel gweinidog; ond yn mis Tachwedd, 1854, rhoddwyd galwad wresog ac unfrydol i Mr. J. D. Thomas, Blaenyffos, swydd Benfro, ac mewn ychydig amser, ar ol ystyriaeth a phwyll, cydsyniodd â'r alwad, a daeth drosodd y flwyddyn hono. Oddiar y flwyddyn 1800, mae llawer o wyntoedd croesion, ystormydd geirwon, a gofidiau blinion, gwedi bod yn ymarllwys eu cynnwysiad ar yr eglwys uchod; ond trwy gymmorth gras, yn nghyd â brawdgarwch gwresog y frawdoliaeth, mae yma ar y cwbl Eglwys hardd a phrydferth gwedi ei chadw i Frenin Sïon. Y cynnorthwywyr a fuont yn pregethu yn yr eglwys hon am y cyfnod crybwylledig oeddent Meistri Elias Davies, William Hugh, David Jones, William Roger, a Thomas Harries. Aelod gwreiddiol o'r eglwys hon yw Mr. Dd. Rees, Waungrychydd. Treuliodd yr amser arferol yn Athrofa Bradford; mae Rees er ys blynyddau yn weinidog yn Braintree, swydd Essex. Bu y gymmanfa yma yn 1718, 1725, a 1735, pan oedd yr eglwys yn gangen o Abertawy; ac wedi ymgorffoli yn eglwys ar ei phen ei hun bu yma yn 1749, 1766, 1794, 1813, a 1843.

## PENNOD IV.

### EI SEFYLLFA BRESENOL, YN NGHYD A'I RAGOLYGON.

Cynnwysa y pentref yn bresenol gant a hanner o dai, naw o ba rai sydd yn dafarndai, ac a adnabyddir wrth yr enwau *White Lion*, *Bear*, *King's Head*, *Farmer's Arms*, *Union Tavern*, *Royal*

*Oak*, *Red Lion*, *Greyhound*, a'r *Cross Keys*. Nifer y siopau yw pump, pa rai sydd yn cael eu dwyn yn mlaen gan Mr. Daniel Davies, Mr. J. Lewis, Mrs. Jane Bonville, Mr. Thos. Samuel, a Mr. Thos. Jenkins. Mae crefftwyr cyffredin, megis maeswniaid, gofaint, seiri, cryddion, a theilwriaid, yn lled luosog yn y pentref; ond glöwyr yw y rhan luosogaf o lawer, ac nid yn aml y gwelir cynnifer o löwyr mewn lle o'i faintiolaeth. Nifer y trigolion sydd oddeutu saith cant a hanner; felly canfyddir ei fod gwedi cynnyddu mewn poblogaeth dros chwech cant yn ystod y pymtheg mlynedd a deugain diweddaf. Mae rhyw deg y pentref yn deilwng o glod, am eu hymdrechion i gadw eu tai y tu fewn yn gystal â'r tuallan cyn laned, fel mae yr holl bentref, trwy eu diwydrwydd hwy yn fwyaf neillduol, yn edrych yn loyw a phrydferth, ac mewn gwirionedd yn addurn i'r gymydogaeth. Mae llawer o sŵn yn mhell ac agos, am ddwfr tryloyw y Felinfoel, yn enwedig felly am ddwfr pistyll Syr John Dundas, ac mae yr ugeiniau galwyni a gludir bob dydd tua'r gweithiau Alcan, yn nghyd ag i'r pentref a thref Llanelli, yn profi cyssondeb a geirwiredd yr Englynion a ymddangosodd yn "Medyddiwr" Mawrth, 1854, gan Mr. Wm. George, (Gwilym ab Ioan) i'r dwfr hwnw. Yr englynion oeddent fel y canlyn:—

Sylwais ar y grisialog—aber-dêg,
Un boreu dydd heulog,
Yn y rhych îs gwrych a grog,
Ar làn y ffrwd oerleiniog.

Dywedir mai da ydyw—iachusol,
A cheisir ef heddyw;
Ac hefryn heb ei gyfryw,
Ei lon wedd, O mor lân yw !

Llawn hollol yw Llanelli—o hono,
Hynod ei ddaioni !
Hyd waelod ei rhedweli,
Aber hardd wiw bur yw hi.

Y Felinfoel, mi goeliaf—a lonir
Gan lân aber buraf;
I'r enwog ffrwd dirionaf,
Cyn y nos, canu a wnaf.

Mae y pentref hwn yn dra enwog hefyd am ei Gymdeithasau Dyngarol. Mae yma bedair cymdeithas dda iawn. Cynnwysa y gymdeithas Iforaidd, dri ugain a phymtheg o aelodau, y gymdeithas Odyddol bedwar ugain a phymtheg, y gymdeithas Ddiwygiadol bedwar ugain, a'r gymdeithas, a elwir Arfau'r Amaethwr, bump ar hugain. Felly canfyddir fod yn y pentref a'r gymydogaeth agos i dri chant o gymdeithaswyr dyngarol, pa rai sydd yn darparu mewn iechyd a nerth erbyn afiechyd a henaint. Ystyriwn fod cymdeithasau buddiol o'r fath uchod yn fendith fawr mewn cymydogaeth, a meddyliwn ei bod yn ddyledswydd arbenig ar ieuenctyd, a chanol oed, yn enwedig y dosparth gweithiol, i ymuno â chymdeithasau daionus a chlodwiw o'r fath.

Mae sefyllfa bresenol dysgeidiaeth y pentref yn lled ddymunol. Nifer yr ysgolheigion a wyddfodolant yn ddyddiol sydd oddeutu 90. Mae hyn yn dda; ond credwn y gallai llawer mwy fod mewn lle mor boblogaidd â hwn, pe byddai rhieni yn ystyried yr angenrheidrwydd o godi eu plant fel y dylent. Er mai y Bedyddwyr sydd wedi bod yn y drafferth a'r draul o godi yr ysgoldŷ, etto mae gan bob enwad yn y gymydogaeth yr un fantais a groesaw i ddanfon eu plant i'r ysgol. Mae y manteision yn dda, a'r prisiau yn isel. Y cangenau ymarferol a arferir yn yr ysgol uchod yw Sillebu, Darllen, Ysgrifenu, Rhifyddiaeth, Mesuriaeth, Daearyddiaeth, Hanesyddiaeth, Gramadeg, Alsawdd (*Algebra,*) a Llyfr-gadwriaeth. Mae ffrwyth llafur yr ysgol, yn y cangenau uchod am y blynyddau diweddaf, wedi gwneyd eisioes lawer o les, nid yn unig i'r ysgolheigion eu hunain, ond mae parodrwydd a chywirdeb atebion y dô ieuanc yn y pethau yna mewn arholiadau blynyddol, yn effeithio ar feddyliau y gwyddfodolion, ac felly yn creu ynddynt fwy o syched am wybodaeth ymarferol. Heblaw y daioni canmoladwy a enwasom yn flaenorol, pa rai mae Nevills, Yswd. wedi ddangos tuag at yr ysgol hon, maent hefyd er ys tair blynedd yn ol gwedi ffurfio Banc Cynnilo (*Saving's Bank*), yr hwn ar y dechreu oedd yn agored yn unig i blant yr ysgol, yn nghyd â gwragedd y gweithwyr. Mae o gryn fantais i fod yn y banc hwn, ac i wneyd ymdrech i dalu ychydig i mewn iddo bob wythnos, o herwydd mae y llôg blynyddol yn £8. 6s. 8c. y cant. Mae nifer yr aelodau yn bresenol yn dri chant a naw ar hugain; ac yn yr ysgoldŷ bob dydd Sadwrn, maent yn talu eu *deposits* i mewn i Mrs. C. W. Nevill, a Mr. Wm. George ei chynnorthwy-

wr. Mae yr holl arian a delir i mewn trwy y flwyddyn, yn nghyd a'r llôg a ddisgyn arnynt yn ol y cyfrif uchod, yn cael eu talu allan y Sadwrn olaf o bob blwyddyn. Mae y Nevills yn hynod am eu daioni a'u caredigrwydd tuag at drigolion y lle a'r gymydogaeth; maent hefyd bob amser yn ymdrechol iawn er rhagflaenu meddwdod ac annuwioldeb. Er cyrhaedd yr amcanion daionus hyn, maent gwedi neillduo amryw bersonau sobr a dylanwadol i edrych dros reoleiddiwch y pentref, ac i weled fod y tafarndai yn cael eu cau mewn amser priodol. Credwn nad oedd y pentref hwn o ran ei foesau yn waeth nâ rhyw bentref arall, cyn dyfodiad y boneddigion uchod i fyw yma, ond gallwn sicrhau fod eu dyfodiad wedi ei wella i raddau mawr ar amryw ystyriaethau.

Mae sefyllfa bresenol yr eglwys yn hardd a llewyrchus; mae'n debyg na fu yr achos goreu oddiar ei ddechreuad yn y lle yn edrych yn fwy blodeuog nag yw yn bresenol Nid oes yma ond un Tŷ addoliad, a hwnw yn perthyn i'r Bedyddwyr, (y mae Eglwys Sefydledig yn awr ar waith, ond nid yw etto yn barod.) Oddiar dyfodiad Mr. J. D. Thomas i'r lle, mae yn ddywenydd hysbysu fod llwyddiant mawr wedi cydfyned â'i weinidogaeth. Mae gwedi bedyddio 59, ac y mae wedi bod yn offerynol yn llaw ei Dduw i droi llawer o hen wrthgilwyr yn ol i dŷ eu Tad. Mae Mr. Thomas yn bregethwr da, doniol, ac adeiladol; ac fel gwir Gristion mae yn barod bob amser i wneyd ei oreu er cario yn mlaen bob achos teilwng a rhinweddol. Trwy ei gynllun a'i ddiwydrwydd ef, yn nghyd â chydweithrediad yr eglwys a'r gymydogaeth, fe gasglwyd y flwyddyn ddiweddaf y swm o ddau cant ac un o bunnau, sef yr holl ddyled oedd yn aros ar y Capel a'r Ysgoldŷ. Trwy benderfyniad diysgog a gwresog weithrediad fel yna, mae yn awr gan yr eglwys gapel di-ddyled i addoli, ac ysgoldŷ di-ardreth er gwrteithio plant y pentref a'r gymydogaeth. Mae y frawdoliaeth yn benderfynol i fyned yn mlaen yn barhaus, mewn undeb, cariad, a gweithgarwch, maent eleni gwedi prynu darn o dir dymunol gwerth £90, ar yr hwn y bwriedir yn fuan adeiladu tŷ i'r gweinidog. Cynnwysa yr Eglwys yn bresenol 450 o aelodau; y diaconiaid ydynt unarddeg, sef Meistri David Roberts, William Rees, John Richards, William Rees, David Samuel, Samuel Williams, John Roberts, John James, William Thomas, David Rees, a William Francis. Mae yma

Ysgol Sabbathol dda, nifer gyffredin yr ysgolheigion sydd oddeutu 430; mae yma 40 o athrawon ac athrawesau, 2 o arolygwyr ac 1 ysgrifenydd. Dangosa yr ieuenctyd lawer o ymdrech i ddysgu darnau o'r ysgrythyr, ac adroddir yn Sabbothol oddeutu 10 o bennodau a 400 o adnodau gwasgaredig. Perthyna i'r capel uchod fynwent ëang iawn, mynwes yr hon sydd yn orlawn o ddeiliaid arch-deyrn y dychryniadau. Yma gorwedd yn dawel weddillion amryw o hen weinidogion ffyddlon ac anfarwol yr eglwys, yn nghyd â thorf luosog o enwogion crefyddol y lle a'r gymydogaeth. Ceir pregeth darawiadol iawn i'r llygaid, wrth daflu ardrem dros y miloedd beddau a orchuddiant y gladd-le. Yno yn bentyrau yn ymyl eu gilydd y gorphwysa corff y duwiol a'r annuwiol; yr hen a'r ieuanc; yr hwn a ddyhoenodd am dalm o amser, a'r gwron-ddyn iach a phrydferth, yr hwn pan yn nghanol cryfder bywyd, a gafodd trwy y ddamwain ddychrynllyd, ei symud o ran ei enaid anfarwol at Dduw barnwr pawb. O dro i dro wrth gladdu y dyrfa sydd yma yn awr yn gorphwys yn mro dystawrwydd, (rhai o'r cyfryw sydd yn huno yn dawel er ys 147 o flynyddoedd,) llawer ochenaid drom sydd wedi ei rhoddi, a llawer costrelaid o ddagrau tryloyw sydd wedi eu colli gan dadau a mamau, gwyr a gwragedd, meibion a merched, perthynasau a chyfeillion, wrth weled eu hanwyliaid hoff yn cael eu rhoddi yn y "tŷ rhagderfynedig i bob dyn byw." O herwydd lluosogrwydd carcharorion y bedd, mae y fynwent gwedi ei helaethu ddwywaith yn ol yr hyn oedd ar y dechreu; ac er ei bod yn bresenol yn un o'r rhai mwyaf a welir mewn cyssylltiad ag un capel yn Nghymru, bydd yn ofynol ei helaethu yn fuan iawn etto. O! mor hyfryd y teimlem, pe byddai genym le cyfreithlawn i feddwl y bydd i'r holl dorf uchod fod yn gyfryw, a fydd yn feddianol ar y ragorfraint urddasol o gael rhan yn yr adgyfodiad cyntaf.

Wrth ystyried sefyllfa bresenol pethau, mae rhagolygon y pentref, mewn adeiladaeth, dysgeidiaeth, a moesoldeb, yn edrych yn ffafriol neillduol. Mae o gysur mawr i bob dosbarth, yn enwedig i'r dosbarth gweithiol, fod holl weithfaoedd y gymydogaeth yn myned yn mlaen mor llewyrchus. Mae gwaith alcan Meistri Phillips, Smith a'u Cwmpeini, pa un sydd yn cael ei gario yn mlaen ger Dafen, oddeutu tri chwarter milltir o'r lle, yn myned

rhagddo yn flodeuog a hwylus rhyfeddol; a chan ei fod yn troi allan cyn ddaed i'r meistri a'r gweithwyr, mae gobeithion cysurlawn am ei hir barhad. Hefyd mae gweithfaoedd Meistri Sims, Wil-lyams, Nevill, a'u Cwmpeini, yn myned yn mlaen yn rhagorol ac ar gynnydd mawr; mae yn debyg na fuont oddiar eu dechreuad mor enwog a helaeth ag ydynt yn bresenol. Y glo-byllau perth-ynol i'r Cwmpeini uchod, ac sydd o fewn cyrhaedd glöwyr y pen-tref, ydynt y Gors, y Box, Llandafen, a'r Gelly; codir yn ddydd-iol o'r pedwar pwll yna oddeutu wyth cant o dunelli o lo. Mae pwll arall a elwir pwll Bryngwyn, yr hwn sydd yn gyfleus i'r pentref, yn awr yn barod i weithio; a barna y mesurydd diwedd-af fod yno ddigon o lo, a gweithio yn gysson, dros bedwar ugain o flynyddau, a chodi yn ddyddiol o ddau i dri chant o dunelli. Mae hyny yn swmp aruthrol i feddwl, ond barna dynion call, ac hyddysg mewn Daeareg fod y gosodiad yn gywir, gan fod y pwll mewn man lle mae y fath gyflawnder o lo o'r gwytheni goreu. Gan mai y boneddigion uchod yw perthenogion y fferm-ydd lle mae'r gweithiau yna yn cael eu cario yn mlaen, mae gan-ddynt fanteision da i fyned â'u holl weithiau yn mlaen yn llew-yrchus a dirwystr, heb ofni eu bod yn troseddu trwy dori mewn i feddiant boneddigion ereill. Mae gwelliant mawr yn cael ei wneyd yn bresenol ar y brif-ffordd sydd yn arwain o'r pentref tua thref Llanelli, ac hefyd mae llwybr prydferth yn gyd-fynedol â hi ar waith, er mwyn teithwyr, oddiar yr hwn bydd golygfeydd hyfryd, gan fod Meistri R. T. Howells, masnachwr; B. Thomas, meddyg; a J. Buckley, masnachwr, Llanelli, mor ymdrechol yn cloddio, planu, a gwrteithio eu ffermydd, pa rai sydd yn ffinio y dosbarth uchod. Yn ddiameu fe fydd y ffordd yna yn fuan yn un o'r rhodfeydd caredicaf yn y plwyf. Bwr-edir cael Llythyr-dŷ i'r pentref yn fuan; mae gwir angen am hyn er ys blynyddau, a hyderwn y ceir atebiad boddhaol i'r ddeiseb a ddanfonwyd yn ddiweddar o berthynas i hyny. Hefyd mae cynllun ar droed yn bresenol, gan y Parchedig J. D. Thomas, yn nghyd â phleidwyr dysgeidiaeth, er ffurfio yn y lle Gymdeithas Lenyddol. Credwn y gwnelai cymdeithas o'r fath uchod lawer o lês er diwyllio a choethi meddyliau pob dosparth yn y pentref a'r gymydogaeth, a ystyrient yr angenrheidrwydd i od yn wir ddefnyddiol yn eu hoes, ac yn addurn i bob gwych gymdeithas.

Cynnyddu a wnelo y pentref caredig,
  Mewn hardd adeiladaeth yn gysson o'r bron,
Dysgeidiaeth belydro ei breiniau haelfrydig,
  Nes dangos y fantais o'i phleidio yn llon;
Pob gwych gymdeithasau dyngarol fo'n ffynnu,
  Ffydd, Gobaith, a Chariad fo'u harwydd bob awr,
Ymdrechol iawn fyddont er cadw i fynu,
  Eu holl egwyddorion di-ledryw eu gwawr;
Uwch, uwch, y dyrchafo pob nodwedd rhinweddol,
  Ac uchel iawn fyddo gwir son am y Groes;
Trigolion y pentref fo'n ddynion defnyddiol,
  Gan barchu Crist'nogaeth holl ddyddiau eu hoes.

CYMDEITHASWR.

---

# PRYDDEST

AR FARWOLAETH

## Y DIWEDDAR BARCH. JAMES SPENCER,

CAPEL SION, LLANELLI.

---

GAN Y PARCH. T. B. MORRIS, LLANFYLLIN,
*(Gwyneddfardd.)*

---

Fy nghalon glwyfedig! pa ddagrau sydd eto
  Mewn hiraeth yn treiglo dros ruddiau dy wlad?
Pa elyn digofus achosa'r fath gyffro?
  Ai angau sy'n lluchio o wenwyn ei frad?
Ai nid yw'r ysbeilydd i waeddi byth, Digon,
  A raid rhoi anwylion yn ebyrth i'w gledd?
Ei saethau a ruddwyd yn ngwaed ein henwogion,
  A hwythau a guddiwyd yn eigion y bedd.

Ein *Tegid* hawddgaraf a roed yn ddiweddar
  Yn mynwes y ddaear, er cymaint ei ddawn,
Bryd hyny gorlanwyd holl Gymru â galar,
  Rhyw gwynfan a thrydar digymar a gawn;
Ar wedd *Ieuan Gwynedd* y rhoed y dywarchen,
  Y galon dwymgurai yn awr sydd yn oer,
Eneinir ei wely gan ddagrau'r ffurfafen,
  Ac arno'n bruddglwyfus yr edrych y lloer.

Y dwys *Forgan Howell* dan leni y beddrod
  A gafodd ei osod, er cymaint ei werth;
A thawel yr huna *Rhys Stephen* oreuglod,
  Gadawodd bob trallod yn nghanol ei nerth;
Ei haul a fachludodd cyn cyrhaedd ei nawnddydd,
  A'r pren pan ar gynydd a dorwyd i lawr,
A'r gruddiau addurnid gan swynion llawenydd
  Amwisgwyd â gwelwedd—newidiwyd eu gwawr.

Ar daith i Lanelli un dydd daeth y creulon,
  A mynodd enwogion yn ebyrth i'w gledd,
Rhoed *Nevill* haelionus yn ninas y meirwon,
  Galara'r awelon uwch glaswellt ei fedd;
Llusernau y cysegr yn hon a ddiffoddwyd,
  Dau *Bowen* a guddiwyd dan dyweirch y glyn,
Drwy'r cynulleidfaoedd rhyw ddwysder wasgarwyd,
  A chanoedd o'r herwydd edrychant yn syn.

Nid digon gan angau yr ebyrth a gafodd,
  Mae beddrod dialgar yn llefain, "Moes, moes,"
At fynwes *James Spencer* ei saeth a annelodd,
  Ac yntau yn fuan o'r fyddin a droes;
Y seren oleuwych dan gwmwl a gollwyd,
  Cysgodion marwolaeth o'i hamgylch a ddaeth,
A'r dalent wresogai feib Gomer enhuddwyd,
  A'i pherchen i garchar gymerwyd yn gaeth.

Oh! SPENCER! wylofain o'th ol mae cyfeillion,
  Eneiniant â'u dagrau dy wely di-nod,
Dy farw roes lawer dan aethus archollion,
  A gwasgar wna'u cwynion trwy Gymru dy glod;
Dysgwylient dy seren yn hir i belydru
  Ar ddysglaer ffurfafen hen grefydd y groes,
Ond ogof marwoldeb yw'r lle cefnaist lechu,
  Heb wadu dy Geidwad na llygru dy foes.

Mae lluaws a'th gofiant yn ardal Treffynon,
  A mynych meddyliant am ôlion dy droed,
Y craffus bryd hyny ganfyddent arwyddion
  Y daethit yn wrol pan oeddit dan oed;
Yn mynwes yr Eglwys y gwnaethost dy drigfod
  Heb wrando lleferydd hudolus y cnawd,
Ac yna pan deimlodd dy enaid y cymod,
  Dilynaist dy Briod drwy ogan a gwawd.

Bu anian dy athraw pan oeddit yn blentyn,
  Ymroddaist i'w dilyn yn moreu dy daith,
Ti rodiaist heirdd lenych Swydd Callestr heb ddychryn,
  Foreuau teg wanwyn wrth fyn'd tua'r gwaith;

Pan gollodd dy fam dyner noddwr ei hie'nctyd,
  Pan chwäon glyn adfyd a wywent ei gwedd,
Ymdrechaist liniaru helbulon ei bywyd,
  Gan wneyd yn esmwythach ei llwybr i'r bedd.

Dy amser ni threuliaist mewn gwagedd a phechod,
  Ni chafodd oferedd foreuddydd dy oes,
Dy nod oedd dyrchafu dynoliaeth uwch trallod,
  Cysegraist dy dalent ar allor y groes;
Gwladgarwch a chrefydd enillent dy sylw,
  Cyn gwybod am hudol ddeniadau y llawr,
Pleth swynion duwioldeb amgylchant dy enw,
  Tra dywed yr Iesu, " Fe garodd yn fawr."

Heirdd flodau efrydiaeth a gawsant dy sylw,
  Ymroddaist i wybod llenyddiaeth dy wlad,
Tra'th galon yn wresog, a'th deimlad yn hoew,
  Gadewaist hen ardal dy fam a dy dad;
Awyddit am yfed claer ffrydiau gwybodaeth,
  Er bod o wasanaeth dros enw dy Iôr,
Yn hyfryd fro *Silin* cest flas ar ddysgeidiaeth,
  Dilynaist y ffrydiau nes cyraedd y môr.

O'th amgylch ymwychai y maesydd blodeuog,
  A'u lliwgar brydweddau wresogai dy serch,
Dy fryd oedd yn foreu ar ddyfod yn enwog,
  A thoraist trwy rwystrau mynyddog ac erch;
Egnion dy enaid osodaist i weithio,
  Er nerthu dy ddeall a choethi dy chwaeth,
Ymroddiad dy ysbryd oedd frwd a diflino,
  Nes syrthiaist i garchar y beddrod yn gaeth.

I *Went* y cyfeiriaist o *Wynedd* fynyddig,
  Mewn awydd nodedig am ffrydiau per dysg,
Ond pan yn troi wyneb i diroedd pellenig,
  Nid tremion estroniaid a'th swynent i'w mysg;
Tân cariad gyneuai ar aelwyd dy galon,
  A gweithio dros Seion orlanwai dy fryd,
Ac yn yr athrofa ti ro'ist dy egnion
  I gasglu gwybodaeth er bendith i'r byd.

Bryd hyn o dy olwg y ciliai'r cymylau,
  A'r nef ymagorai yn llawnder ei rhad,
Ymgodaist ar edyn y wawr drwy'r wybrenau,
  Er gweled ëangder llywodraeth dy Dad;
Ymollwng wnait eilwaith i dywyll ddirgelion,
  I geisio cael rheswm am hyn neu y llall,
Os lluchid di weithiau i froydd yr amheuon,
  Dy feddwl yn fuan unionai y gwall.

Ymroddaist o ddifrif tra yn yr athrofa
  I chwilio'r gwybodau a ddysgir i ddyn,
Yn drylwyr ystyriol mai dros y Jehofa
  Ac i'w bur wasanaeth y rhoddaist dy hun;
Atebaist yn gyflawn i'r enw efrydydd,
  A buan dy gynydd oedd eglur drwy'r lle,
Yn nganol mwngloddiau y gwelid di beunydd
  Yn chwilio dirgelion trefniadau y ne'.

Arogledd dymunol drwy gylch ei gydnabod
  Oedd ar ei gyfeillach yn moreu ei ddydd,
Addefai'i wrandawwyr fod *Spencer* yn gwybod
  Athroniaeth trefn achub a geiriau y ffydd;
Ond Esgob eneidiau cyn hir a'i harweiniodd
  I ardal *Llanelli* er bendith i'r byd,
Ac yno mewn harddwch ei waith â gyflawnodd
  A swynion y cysegr a oleuent ei bryd.

Ar lyfr y gwladweinydd cofrestrwyd y diwrnod
  Y cafodd ei osod yn uwchder ei swydd,
Ac yntau'r cadlywydd ymffrostia o'r diwrnod
  Y rhoed arno hynod aurdorchau ei lwydd;
Dydd llwyddiant dyfeision y cywrain beirianwr
  Sydd fawr yn ei olwg am flwyddi ei oes,
Llawenydd orleinw lwys fron y dyngarwr
  Wrth symud rhyw drallod neu leddfu rhyw loes.

Ond llawer mwy pwysig i'r Arwr Crist'nogol
  Yw dydd ei neillduad i fawrwaith yr Iôr,
Dug iddo rai gweithiau deimladau llesmeiriol,
  Bryd arall gwna'i fynwes fel terfysg y môr;

Pryd hyn y'i gosodwyd rhwng cynen tafodau,
  A myrdd o gableddau llu uffern a'r byd,
Er hyn yn ei galon y llosgai y geiriau,
  A pheidio llefaru nis gallai un pryd.

Ymroddodd *James Spencer* yn nghylch ei swyddogaeth,
  Er bod o wasanaeth dros Frenin y Nen,
Cyhoeddodd ddiangfa o afael marwolaeth
  Trwy'r Hwn roes ei einioes yn briodwerth ar bren;
Yr Oen croeshoeliedig oedd haul ei bregethau
  Cyfeiriodd eneidiau at rinwedd yr Iawn,
Ac er nad amcanodd at oglais tymherau,
  Fe brofwyd ei eiriau o gariad yn llawn.

Ffuantus boblogrwydd erioed ni chyrhaeddodd
  Am barch nid ymgeisiodd trwy lethu y gwir,
Ar lwybrau heirdd Sion yn gywir y teithiodd
  Hyd gyfwng marwolaeth y daliodd ei dir;
Ymnerthodd yn ngallu ei Geidwad bendigaid
  A'i ras a'i cynaliodd hyd derfyn ei daith.
Cyflwynodd i grefydd egnion ei enaid
  Aberthodd ei fywyd er llwyddiant ei gwaith.

Ni chafodd ei foesau gan un gwr eu hameu,
  Ni chollodd ei goron tra'n teithio y llawr,
Cydnabod ei dalent wnai miloedd yn foreu,
  A bardd y cryfhaodd fel cynydd y wawr;
Ond Och! mwy ni welwn ei dremion difrifol
  Diangodd o gyraedd holl loesion y byd,
Cymerodd ei orsedd, a'i gân sydd yn swynol
  Am gariad maddeuol Iachawdwr y byd.

Gorwychion linellau addurnent ei nodwedd,
  Hanfodion gwir rinwedd a lanwent ei fron,
Ei fynwes wresogid gan raddau duwioledd,
  A'i ysbryd ymgodai o'r ddaear flin hon;
Ymroddodd i chwilio trysorau doethineb,
  Nes sugno'i serchiadau i froydd y ser,
A chafodd ei hunan ar dir anfarwoldeb,
  Yn nghanol disgleirdeb gogoniant ei Ner.

Gweinidog doeth ydoedd i borthi praidd Iesu
  Ymdrechodd i'w magu yn ngeiriau y ffydd,
Nid gwylltion syniadau oedd ganddo i'w traethu,
  Ond geiriau gwirionedd a sobrwydd bob dydd;
Hawdd iawn ydoedd deall ei fod yn ystyriol
  Mai cledd yr Anfeidrol oedd ganddo'n ei law,
Pan fyddai'n cyhoeddi trwm wae yr annuwiol
  Ceid gruddiau'i wrandawwyr yn delwi o fraw.

Ac eto'r canolbwynt oedd croes y Gwaredwr,
  A phoenau gorphenol Iachawdwr y byd,
Llafuriodd yn galed i ddweyd am y Prynwr,
  A chael ei wrandawwyr i'r noddfa mewn pryd;
Colofnau trugaredd gyfododd i fynu,
  A safant 'nol trengu holl arwyr y llawr,
Pan roddir gorchestion rhyfelwyr i bydru
  Bydd cofion am *Spencer* yn wyrddion eu gwawr.

Gwneir, cofir rhinweddau pan wridir yr wybren
  Gan euraidd belydrau gogoniant yr Iôr,
Y deigryn ollyngir uwch gwaeledd a'i angen,
  Nis gall byth gymysgu â dyfroedd y môr;
Rhyw angel urddasol a'i cyfyd i'w gostrel
  Yn un o drigfanau aurwychion y nen,
Da gwyddai *James Spencer* fod hwnw'n ddiogel,
  Fel perl yn y goron addurnai ei ben.

Nodweddir yr arwr gan dremion gwroldeb,
  Gwên ddawns ar ei wyneb wrth ganfod y cledd,
Ymgyfyd ei feddwl uwch ofnau marwoldeb,
  A chwardd pan yn sangu ar briddell ei fedd;
Ond mynwes *James Spencer* wrolid gan grefydd,
  A llawn olygiadau ar fawredd ei swydd,
Sefydlodd ei lygaid ar Iesu trwy'r tywydd,
  A hyny goronodd ei ymdrech â llwydd.

*Gonestrwydd* reolai ysgydwad ei amrant,
  Dilynai uniondeb trwy ogan a gwawd,
O ragfarn ddallbleidiol ni sugnai un mwyniant,
  Ond cyfrif wnai'r Indiad croenfelyn yn frawd;

Teimladau dyngarol *James Spencer* fu'n gynes,
  Oedd gadwyn arianaidd o amgylch y byd,
Llon gariad efengyl a lanwai ei fynwes,
  Ac yn ei goleuni y rhodiai o hyd.

Ei *haeledd* a ddylai gael genym ei nodi,
  Nid cul oedd ei ysbryd, nid cyfyng ei fron,
Cyflëai achosion pob dyn yn ei weddi,
  A chludai'n ei fynwes y ddaear yn gron;
Cydweuwyd gwladgarwch â'i galon dosturiol,
  Ond eto dadleuai dros holl freiniau dyn,
Ei serch at ei frodyr a'i gariad Crist'nogol
  Yn moroedd ei deimlad gymysgent yn un.

Ei feddwl oedd rymus i dori trwy rwystrau
  A guddient wrthrychau o olwg y byd,
Ymchwiliodd athroniaeth, gan ddwyn o'i thrysorau
  Y llachar aurdlysau a pherlau bob pryd;
Holl ddeddfau cudd anian a gawsant ei sylw,
  Parhaodd hyd farw i geisio y gwir,
Rhyw swynion diledrith amgylchant ei enw,
  A byddant i'w gadw yn hoew yn hir.

Ond trefnu wnai'r cyfan yn iswasanaethgar,
  Er enill y ddaear o feddiant y fall,
Tra'n rhedeg yr yrfa, bu'n fynych mewn galar,
  Ond at y nôd cyrchai trwy'r helbul heb ball;
Hyfrydwch ei fywyd oedd dweyd am y Ceidwad,
  O fawredd ei gariad yn marw'n ein lle,
Y groes oedd canolbwynt ei feddwl yn wastad,
  Wrth deithio'r anialwch i ddinas y ne'.

Nid mawredd rhodresgar ar lenyrch tir estron,
  Neu fenthyg rhyw swynion wnai ganddo y tro,
Ond gartref trwy'i fywyd llewyrchai ragorion,
  Nes enill i'w barchu drigolion ei fro;
Ymgododd mewn enw a bri uwch ei gyfoed,
  Gweinidog da ydoedd yn nheml y ffydd,
Gofalodd am grefydd yn nyddiau llon maboed,
  Ac yn ei gwasanaeth gorphenodd ei ddydd.

Ond Och! gyrodd angau ei saeth lem angeuol,
  Trwy fynwes mor ddenol—trwy galon mor gu;
O'i ol y mae'n rhedeg heillt ddagrau llifeiriol,
  A'i hoffus areithfa amwisgwyd â dû;
Rhyw adlais galarnad wasgara'r awelon
  Hyd eithaf pellderau y gogledd a'r de,
Ei gorff afiach syrthiodd yn aberth i'r creulon,
  A'i ysbryd ddiangodd i breswyl y ne'.

O'i flaen ymagorai blynyddau defnyddiol,
  A gwenu yn siriol wnai heulwen ei oes,
Ond tra'r ymddangosai y byd mor addawol
  Rhyw bryf oedd yn rhoddi i'w ddwyfron ddu loes;
Ei haul a fachludodd cyn anterth ei ddiwrnod,
  A'i gorff sydd yn ngharchar y beddrod yn gaeth,
Mae pruddaidd wylofain yn mysg ei gydnabod,
  Ond bron *Capel Sion* drywanwyd â saeth.

Yn ngwaith yr Efengyl y treuliodd ei fywyd,
  Sefydlodd ei olwg ar gariad y groes,
Os cafodd o ddaear ac uffern beth tristyd,
  O'r nefoedd y tynodd gysuron ei oes;
Ei ysbryd aeddfedwyd i gwmni'r angylion,
  Ehedodd drwy'r wybren i balas ei Dduw,
Cymerodd lawn feddiant o'i orsedd yn Sion,
  Am oesoedd tragwyddol y bydd yno'n byw.

Gadawodd ei briod i Farnwr y gweddwon,
  Boed Ef iddi'n dirion tra'n disgyn y bryn,
Llareiddied y gwyntoedd os chwythant yn greulon
  I'w herbyn, nes cyrhaedd trwy ddyfroedd y glyn;
Boed nawdd y Penbugail dros braidd Capel Sion,
  Heb felldith gelynion i darfu eu hedd,
Coroner eu hymdrech â dirif fendithion,
  Er rho'i bugail ffyddlon dan gloion y bedd.

Fy mrawd! cwsg yn dawel dan leni y beddrod,
  Ni chaiff unrhyw drallod ro'i ddant ynot mwy,
Yn iach y diengaist i wyddfod dy Briod,
  A'th gân yn ddiddarfod gaiff fod am ei glwy';

Dy fysedd sy'n chwareu ar delyn paradwys,
A nofia dy ysbryd mewn gwynfyd a hedd,
Dy gorff dan y briddell yn dawel a orphwys,
Hyd nes yr agorir carcharau y bedd.

Boed cofio'th ragorion i ninau'n gymhelliad
I ddilyn y Ceidwad a rho'i arno'n bryd,
Fel caffom pan ddelo dydd du'n hymddatodiad
Ein dwyn idd ei fynwes o helbul y byd;
Na chaffed daeargryn derfysgu'r tawelwch
Ymdaena o amgylch dy anedd oer draw,
Boed i'r erch dymhestloedd i droi yn arafwch
Yn ymyl dy feddrod, os deuant gerllaw.

Pan wawrio y diwrnod i dori cadwynau
Marwoldeb, do'i dithau yn ddisglaer i'r lan,
Bydd gwên dangnefeddus lle gynt y bu dagrau,
A bythol gadernid lle buost yn wan;
Canlyni'r orymdaith i olwg y ddaear,
Mewn gwisgoedd mil harddach nag aurleni'r wawr,
Yn berlau tryloewon bydd dagrau y galar
A gollaist yn fynych wrth deithio y llawr.

Cyfoded Iôr eto o hil yr hen Gymry
Blanigion santeiddrwydd i gadw ei le,
Mae'r ysbryd yn ngweddill, gall Ef ei gyfranu,
Er donio rhai eto yn weision y ne';
O dyger ein hysbryd ar ol ein cyfeillion,
I'r wlad lle mae *Spencer* yn nofio mewn hedd,
Pan fyddom yn disgyn i anedd y meirwon,
O fyd yr helbulon yn welwon o wedd.

LLYWELYN SION O LANGEWYDD.

---

# CAN

## AR YMADAWIAD WILLIAM CHAMBERS, YSW., A'I DEULU, A LLANELLI.

GAN MR. DAVID BOWEN, LLANELLI,
*(Dafydd ab Owen.)*

DREF fywiog Llanelli, yr wyt yn anffodus,
  Dy hawddgar foneddion gymerir i ffwrdd,
Yn sydyn cythryblwyd dy agwedd gysurus,
  Daeth 'storom adfydus ac erchus i'th gwrdd;
Hoff NEVILL a CHAMBERS, yr hynaf, a dorwyd
  O ganol eu llafur, gan angau â'i gledd,
A CHAMBERS, ieuengaf, a fuan symudwyd,
  Rhagluniaeth yn dirion newidiodd ei sedd.

Bu yma yn treulio ei ddyddiau o'i febyd,
  Llesoli'r trigolion bob awr oedd ei gais,
Ei roddion wasgarodd o amgylch bob enyd,
  Yn erbyn gorthrymder dyrchafodd ei lais;
Haelioni ddangosodd at bob peth daionus,
  Un amser ni wnaethai ymatal ei ran,
Dyddanai bob amser y galon drallodus,
  Ei ymgais oedd rhoddi cynorthwy i'r gwan.

Ei enaid orlifai o gariad at ddynion,
  Ni wnaethai gyfyngu ei roddion at blaid,
Cyfranai'n ddaionus i'r didwyll a'r ffyddlon,
  A'r weddw amddifad gai gymhorth di-baid;
Capeli enwadol eu cyfran a gawsant,
  Ysgolion dderbynient yn helaeth o'i gôd,
A phob rhyw sefydliad dueddai er llesiant,
  Nid rhyfedd yw meddwl mor uchel ei glod.

Rhyddfreiniwr o galon oedd yn ei egwyddor,
Boddlonai i roddi'r un rhyddid i'r byd,
Ei farn a gyhoeddai o oror i oror,
A chawsai ei ddeiliaid 'run fantais i gyd;
Nid ydoedd, fel llawer, yn dysgwyl i'w weision
I floeddio ac ymladd bob amser o'i du,
Ond carai wel'd pawb i'w hegwyddor yn ffyddlon,
Ei well fal rhyddfreiniwr difrifol ni fu.

Yn golofn gadarn dros wiredd dwys safodd,
Daioni ein treflan oedd ganddo bob pryd,
Iawnderau y bobl a gadarn ddiffynodd,
Haelfrydedd diatal a lanwai ei fryd;
A'i briod hawddgaraf wasgarai fendithion
I loni aneddau'r anghenus o'r bron,
Dilladai'n gysurus rhyw lu o dylodion,
Ymgeisiai yn gyson i'w gwneuthur yn llon.

Ni fu gwell amaethwr erioed yn y Deau,
Deallai holl anian a'i deddfau i gyd,
Anrhegodd yr hwsmon â llu o draethodau,
Ei ymgais yn wastad oedd gwella y byd;
Un amser nis boddiai ei 'wyllys ei hunan,
Y cariad amlygai at ddynion oedd fawr,
Yn ddiwyd llafuriodd trwy'i fywyd yn gyfan,
A lles y llaweroedd oedd ganddo bob awr.

Hardd lwybrau pleseru a wnaeth yn ein treflan,
Addurno a chodi ein gwlad oedd ei gais,
Ol llafur ei feddwl a welir yn mhobman,
Yn erbyn pob gorthrech cyfododd ei lais;
Baddonau godidog a heirdd adeiladodd,
Y maent yn addurniant i 'strydoedd ein tref,
Diwylliant dynolryw a gyson feithrinodd,
Ni cheir un boneddwr mwy ffyddlon nag ef.

Os byddai Cadeirydd yn wir angenrheidiol
I gymwys lywyddu cyfarfod o bwys,
Yr ydoedd bob amser yn eithaf parodol,
A'i lon-ymadroddion yn hygar a glwys;

Difyrai y dyrfa â'i weddus sylwadau,
  Pob un o'i wrandawyr a hoffent ei ddawn,
Dylifai fal perlau ei hapus ffraeth-eiriau,
  Gwneud lles i'w gyd-ddynion wnai foreu a nawn.

Fel ynad yr heddwch gweinyddai gyfiawnder,
  Ei feddwl amlygai heb ofn na braw,
Er mwyn ei gyfeillion ni ŵyrai un amser,
  Ni chawsai ei elyn un cam ar ei law;
Ei ymgais yn gyson oedd gweini uniondeb,
  Yr egwan a gawsai'r un fantais â'r cryf,
Ymroddai i ymddwyn mewn hedd a chysondeb,
  Ei farn a gyhoeddai yn eglur a hyf.

Pan ydoedd ar fyned o'n hardal i drigo,
  Y bobl gydun'sant i ddangos eu clod,
A thysteb ardderchog fe gadd ei wobrwyo,
  Ei enw fydd uchel tra'i deulu mewn bod;
'Roedd hyn yn ddangoseg mor wir ddyrchafedig,
  A mawr oedd yn ngolwg trigolion y wlad,
Yn awr mae Llanelli fel tref adfeiliedig,
  Fe gollodd ei cheidwad a'i chyfaill difrad.

Am fyned boneddwr o'i fath o'r gym'dogaeth,
  Mae llu yn galaru eu colled o hyd,
At bob peth daionus cyfranai yn helaeth,
  Yn siampl yr oedd i foneddion y byd;
Pan ddarfu ymadael, fe gollwyd call ynad,
  Un deimlai bob amser yn llwyddiant ein bro,
Boneddwr cyfoethog, o ddirfawr ddylanwad,
  Yn wag mae'r palasdŷ—aeth llwyddiant ar ffo.

Trigolion Llanelli ynt yn eiddigeddu
  At Sir Aberteifi am feddu'r fath ŵr,
Hwy gawsant o'u Noddwr eu dwys amddifadu,
  Aeth ymaith eu coron—collasant eu tŵr;
Dymunant i bawb o'r trigolion ei barchu,
  Y mae yn foneddwr sy'n deilwng o glod,
Pob dyn cywir-galon a wna ei fawrygu,
  A cha ei ddyrchafu tra fyddo yn bod.

Dymunaf i CHAMBERS a'i gydmar wiw iechyd
I dreulio eu dyddiau yn llawen mewn clod,
Yn hirfaith a dedwydd parhäed eu bywyd,
Eu parchu a gaffont gylch ogylch y rhod;
Na fydded i 'stormydd adfydus aflwyddiant
I'w cwrddyd, ond ffyniant drwy gydol eu hoes,
Coroner pob gweithred o'u heiddo â llwyddiant,
Rhagluniaeth wasgaro bob awel fo'n groes.

EWYLLYSIWR DA I MR. CHAMBERS.

---

## CAN

## AR YMADAWIAD WILLIAM CHAMBERS, YSW., A'I DEULU, A LLANELLI.

GAN Y PARCH. JOHN THOMAS, GLYNNEDD,

*(Ieuan Morganwg.)*

Mor swynol ydyw deigryn serch,
Pan ddaw o hanfod teimlad pur;
Alltudia hwn anghydfod erch,
Melysa bob rhyw gwpan sur;
Ireiddio wna fy nghân yn awr,
Mi wlychaf ynddo'm marddol bin;
Mae'r fron yn friw, gan hiraeth nawr,
Am CHAMBERS hoff—ei fath sydd brin.

Pan gefnodd ef—yr ardal hon
A gollodd un o'i phenaf rai,
Ochenaid drist, a chwyddai'i bron,
Ei ddagrau brwd ymdreiglo wnai;

Gwladgarwr pur, rhyddfrydig oedd,
  A chymwynaswr goreu ryw;
Nid Pharisead, a godai floedd
  Gan waeddi "*Gwelwch mai fi yw.*"

Gwr oedd a garai weini lles,
  A dyn i ddyn ar bob rhyw bryd;
Uchelwr oedd yn mlaen ei res,
  A chywir gâr o isel fryd;
Heddynad doeth oedd fel ei dad,
  Uniondeb a rymusai'i farn;
A thyna dysdeb gwyr ei wlad,
  "*Iforiad ydyw ef bob darn.*"

Llanelli ydoedd falch o'i llyw,
  Ac yntau a'i hanwylai hi;
Dan faner cariad gwnaent gyd-fyw,
  A dyrchai'r naill y llall mewn bri;
Llafurio wnaeth yn ddiwyd iawn,
  Er cyfoethogi'r llanerch gu;
Hwylusai ffyrdd i'w choffrau llawn,
  Er elw a gwaith i ddirfawr lu.

Addurnodd ei rhodfeydd o'r bron,
  A thêr blanhigion irlas wawr;
Y temlau heirddwych sydd yn hon,
  Gyd-dystiant ei haelfrydedd mawr;
Achlesodd addysg yn ein gwlad,
  Ysgrifiai'r Omeraeg yn rhwydd,
A gwnaeth i'r Amaeth wir leshâd,
  Trwy godi ei riniau ger ein gwydd.

Llanelli dyfodd dan ei nawdd,
  Ei thoraeth megys Tyrus aeth,
Estynodd ei chortynau'n hawdd,
  Yn enwog iawn mewn masnach daeth;
Dros ryddid safai ef bob pryd,
  Hen ormes gaeth a chwalai ffwrdd;
Ar welliant beunydd rhoddai'i fryd,
  Aml riniau ynddo wnai gyd-gwrdd.

Ei barc addurnol agor wnai,
  At fŷg wasanaeth teulu'r dref;
Ac yn ei balas aml rai,
  A brofodd ei ddanteithion ef;
Llawn caredigrwydd oedd bob pryd,
  Parodol i was'naethu ei oes,
Ac er cael llawer iawn o'r byd,
  Blodeuo wnai mewn rhîn a moes.

Bu'n dad i'r tlawd, a thwr i'r gwan,
  Y rheidus ŵr a brofai'i nawdd;
Ymledai'i glodydd yn mhob man,
  Ei garu ef oedd orchwyl hawdd;
Urddasol oedd o fewn ei dref,
  Ei gyngor ef oedd werthfawr iawn,
Gwirionedd oedd egwyddor gref
  Ei holl drafodaeth foreu a nawn.

Pan ddaeth y swn mai 'mado raid
  A'r Yswain hoff mewn enyd fach,
Y dagrau redent yn ddibaid,
  Wrth feddwl canu iddo'n iach;
Ei hen gyfeillion yn ddioed,
  Bwrcasent gof-arwyddlun hardd,
Ac yn ei deulu bythol foed,
  Yn barchus tra f'o awen bardd.

Eurolwyn fawr Rhagluniaeth Ner
  A roddodd dro i'w arwain ffwrdd,
I Geredigion ardal dêr,
  Rhaid myned bellach er ei gwrdd;
Ac yn yr Hafod groesaw gawn,
  Pan elom ar ryw glerol hynt,
Mae yno bob cysuron llawn,
  A gwenau'r gwr fel cafwyd gynt.

Mae llu'n galaru ar ei ol,
  Ei anedd wech sydd weddw 'nawr,
Pe bai ond dychwel—doi i'w hôl
  Ar frys, afrifed dyrfa fawr;

Goroian brwd ddadseiniai'r wlad,
  Pe gwawriai gobaith mŷg am hyn,
Cael gweled eilwaith wyneb tad,
  Fa'i gwel'd ei hygar wyneb gwyn.

Hawddamor iddo tra mewn byd,
  Yr Hafod fyddo'n anedd hedd,
Blodeuo wnelo'i deulu gyd,
  A nodded Duw f'o gylch ei sedd;
Ei ddôr fo'n agor byth i'r tlawd,
  Gwrandawed bob rhyw galed lef,
I'r Brython beunydd boed yn frawd,
  A'i fythawl drigfa fyddo'r nef.

GWLADGARWR.

---

## CWYMPIAD Y DAIL.

GAN MR. JOHN THOMAS, TROEDYRHIW,

*(Ifor Cwm Gwys.)*

Mor hoff ydyw gweled dynesiad y gwanwyn,
  Mae'r ddaear yn gwenu dan wadn ei droed;
Ei anadl dyner adfywia y glasdwyn,
  Mewn mentyll amryliw y gwisga y coed;
Prif deyrn y goleuni gusana ei ruddiau,
  Y rhosyn a blyga dan bwysau y gwlith;
Holl deulu y gwigoedd a ganant delynau,
  Y gôg a gyhoedda yn araf ei lith;
Dadblygir yn llyfr tymorau y flwyddyn,
  Bob eiliad ryw newydd ar newydd er budd,
Y blodau perarogl wyliant y dyffryn,
  Y bryniau addurnir â mentyll o nudd.

Uwch ben y mynyddoedd yn mro y cymylau,
Ymbyncia'r ehedydd mewn parabl rhydd;
Y deyrnas lysieuog yn ei hamrywiaethau
Sy'n cael ei dadguddio ar doriad y dydd;
Mae gwisg bendefigaidd y deml ddaearol,
I'r llygad manylgraff yn orlawn o swyn;
Yr haul sy'n dod allan o'i 'stafell ddwyreiniol,
I anerch ei mhawredd yn dyner a mwyn,
Y balmaidd awelon sy'n gwasgar arogledd
Ei dillad sidanog yn agos a phell,
I fwth y cardotyn fel palas y bonedd,
I gaban y bugail, ac hefyd i'r gell.

Y dail ymgofleidiant hoff gryd yr aderyn,
Lle sigla ei gywion rhwng daear a nen,
Addysga donnodau'i henafon i'w blentyn,
Dan gysgod y ddalen ar frigyn y pren;
O! braidd na feddyliem wrth wel'd urddasolrwydd
Y gwigoedd yn dawnsio yn nghlogau yr haf,
Nas gallai'r awelon heb deimlo euogrwydd,
Byth ddryllio eu gwisgoedd rhag digio eu Naf;
Pa beth yw eu gwisgoedd? myrdd myrddiwn o dànau
Yn canu gogoniant i Grewr y byd,
Dan fysedd yr awel mewn swynol anthemau,
Yn llawn o beroriaeth felysber i gyd.

Gwir harddwch y cread yw gorchudd y fedwen,
Mor hoff dan ei chysgod yw eistedd yr haf;
O mor ogoneddus yw bysedd y dderwen,
Wrth wisgo modrwyau gwaith dwylaw fy Naf;
Y meillion sy'n gwenu, a deigr llawenydd
Yn llanw eu llygaid wrth weled y gwydd,
Goruwch ynt yn taenu eu mentyll ysblenydd,
I'w cadw rhag poethder gormodol y dydd;
Mae'r haul yn goreuro'u ymylau ardderchog,
Pan b'ont yn garpedau dan wadn ei droed,
Mor berffaith mae enw y Duw Hollalluog
Yn cael ei argraffu ar fynwes y coed.

Ond er bod y goedwig yn llawn ardderchawgrwydd,
Dan wyrddion 'snodynau mor brydferth a hardd,

Nes rhoddi celfyddyd yn ei phrif gywreinrwydd
  Dan g'wilydd, a d'rysu dychymyg y bardd;
Rhwng Medi a Hydref mae'i thegwch yn pylu,
  Mae megys yn colli ireidd-der ei bru;
Ei gwyrddion goronau sy'n dechreu blaengochi,
  'Does dim o'i pheroriaeth mor felus â bu;
Pa beth ydyw'r achos? yr Hydref sy'n nesu,
  Mae'r gwlithoedd meithrinol yn pallu y nos,
Mae llwydrew dinystriol yn disgyn a llosgi
  Prydferthwch gwynebpryd y ddalen a'r rhôs.

Paham mae'r aderyn a'i gân mor alarus?
  Y deildŷ awyrol lle gwelwyd ef gynt
Yn magu ei deulu mor lân a chysurus,
  Yr awrhon a chwelir gan anadl y gwynt;
Ac O mor garedig y gwelwyd y dderwen
  Yn agor ei gwlawlen ordlysog fan draw,
Y dô amgauedig dros nyth y fwyalchen
  I'w chadw rhag rhuthr y dymestl a'r gwlaw;
Ond heddyw cymerir ef ymaith yn ddarnau
  Rhwng bysedd yr awel, waith colli ei nawdd,
E ffodd y fwyalchen a'i theulu yn ddiau,
  O dan y gelynen yn agos i'r clawdd.

Gwniadwaith hardd anian, oedd ddoe yn grogedig
  I lawr dros ysgwyddau a mynwes yr allt;
Ond heddyw mae'n eistedd yn noeth a gwywedig,
  Mewn agwedd alarus heb fantell na gwallt;
Y beirdd a esgynant i'w siriol gadeiriau,
  Y ddoe am y cyntaf i anerch y wawr,
Ynt oll wedi colli cyweirnod eu tanau
  Yn nghysgod y cloddiau ymlechant yn awr,
Mae holl odidawgrwydd y gwydd wedi cilio;
  Eu harogl hyfryd a'u miwsig diail,
'Does dim ond mudanrwydd yn awr yn preswylio,
  Y llys lle bu'r awen 'nol cwympiad y dail.

Pob dalen a ddygir rhwng bysedd yr awel,
  A glywir yn canu cân marwnad yr haf;
A phan yr â heibio fy mwth wrth ymadael,
  Trwm arogl gauaf oddiwrthi a gaf;

Mae'n sibrwd yn nghlustiau dynolryw wrth fyned
Fod tymor ymddatod a hwythau bron cwrdd;
Os sylwn yn fanol mae argraff i'w weled,
Ar fynwes y ddalen cawn ninau'n dwyn ffwrdd;
Byr rybudd geir ganddi i ddyn fod yn barod,
O herwydd na wyddom yn sicr pa bryd
Cawn ninau ein gwysio gan angau i wyddfod,
Y Duw Hollwybodol, a farna y byd.

DAI HARRI BACH.

---

# PRYDDEST

AR

# FARWOLAETH Y DIWEDDAR BARCH. J. BOWEN,

LLANELLI.

---

GAN MR. DANIEL RICHARDS, LLANELLI,

*(Calfin.)*

---

WRTH im' ddechreu ysgrifenu
'R ganiad fechan hon i lawr,
Ofer imi geisio celu
Fy nheimladau prudd yn awr;
Gwibio maent o fewn fy mynwes,
Gwneud archollion dan fy mron,
Methu'n lân a rhoddi hanes
Gwrthrych yr Alareb hon.

Cofio fod yr hybarch BOWEN
Heddyw'n gorwedd yn y bedd,
Sy'n attalfa i'm hysgrifen,
Roddi darlun hardd o'i wedd;

Etto ceisiaf ymdawelu,
  Ymresymu â fy hun,
Ffoledd imi òralaru
  Am yr hoffus anwyl ddyn.

'Nawr eisteddaf dan yr *ywen*,
  Mewn unigrwydd wrthyf fy hun;
Ceisiaf dynu *ardeb* BOWEN,
  A'i holl deithi bob yr un:
Yno yn murmur yr afonig,
  Sy'n ymlwybro tua'r môr,
Bron mewn llesmair yn swn miwsig,
  Swynol yr asgellog gôr.

Yn swn yr afonig a chwiban y gwynt,
  A hyfryd delori yr adar,
A'r dolydd meillionog yn datgan eu hynt,
  Bûm agos anghofio fy ngalar.

Ond BOWEN yw'n testun, yn unig efe,
  Ac arno yn awr yr edrychwn,
Heb arfer gormodiaith rhown iddo ei le,
  At hyny yn llwyr y cynygiwn.

Gwir ydyw nid ydoedd yn llenor ei oes,
  Yn enwog ar faes ein llenyddiaeth;
Na bardd na dwfn Ieithydd—ond cenad y groes,
  Yn hyn y gorweddai 'i ragoriaeth.

Fel cenad y nefoedd, fan yma disgleiriai,
  Fe'i gwisgwyd â gwir gymhwysderau i'r gwaith,
Y Crist a fu farw oedd swm ei bregethau,
  Yr hwn a gyhoeddai hyd ddiwedd ei daith;
Agorai hen goffrau y dwyfol wirionedd,
  A dygai'r trysorau yn bur ger ein bron,
Nes synu y dyrfa yn ngolwg eu mawredd,
  A'r Cristion trallodus edrychai yn llon.

Ei wedd oedd angylaidd pan yn yr areithfa,
  Fel gwr fai â neges dros Dduw at y dyn,
Argraffai ddifrifwch ar y gynulleidfa,
  Nes codi ymchwiliad yn meddwl pob un,

"Ai deiliad i orsedd sydd uwch na daearol?"
Oedd sibrwd neillduol gan fychan a mawr,
"Ai un sydd yn berchen ar enaid anfarwol,
Wyf fi sydd bresenol, wael bryfyn y llawr?"

Nid mynych yr esgynai i *Ebal* na *Sina*,
Hen lethrau brawychus taranau a mŵg,
Gwell ganddo oedd aros yn ymyl Calfaria,
Y fan na ddangosai Jehofa un gŵg;
Y balmaidd awelon a chwythent dros fryniau
Caersalem—adfywiai rasusau y saint;
I'r gorlan glyd yma y praidd a arweiniai,
Ac aml ryfeddai b'le daeth y fath fraint.

Sefyllfa gysefin dynoliaeth a chwiliai,
A'r Pen-cyfamodwr a'i riniau i gyd,
A'i ddedwydd amgylchiad yn Eden y boreu,
Yn derbyn gwarogaeth pob peth yn y byd;
Yn llywydd îsloerawl gweithredoedd y Duwdod,
Yn frenin heb ail ar ei sedd iddo'n bod,
Yr unig ddarlun-len a welwyd o hanfod
Canol-bwynt yr Hwn nid yw'n unman yn bod.

Ond Och! er ein gwaeau, yn gelain fe gwympodd,
Ac ynddo'r aeth tyrfa afrifed i lawr;
Yn nydd profedigaeth ei goron a gollodd,
A ninau yn ngafael euogrwydd yn awr;
Ei ddoniau dihafal ddesgrifiai'n trueni,
Ein gwarth a'n tylodi—yn ngoleu y Gair,
'R oedd grym ei resymeg yn llwyr argyhoeddi
Y cyndyn a'r 'styfnig, mai gwir oedd ei air.

Nid yma y cadwai ei hoff gynulleidfa,
Mewn dygn anobaith, heb wawr o un man,
Ond cofiai'r addewid a roed o'r Messia,
A'r cysur a ddeilliai o hyny i'w rhan;
Pregethai helaethrwydd goludoedd Calfaria,
Goludoedd anfeidrol efengyl yr hedd,
Dangosai yn eglur fod modd cael diangfa
Ar angau ac uffern, a dychryn y bedd.

Nid grym *areithyddiaeth* hynodai ei ddoniau,
  Nid dwfn *athronydd* mo hono ychwaith,
Nid gwasgar mal gwreichion oedd ei feddylddrychau,
  Neu fellt yn goleuo y byd ar un waith;
Ond CENAD heb addurn na pherlau allanol,
  Heb dlysni neillduol mewn ieithwedd na dawn,
Ac etto llawn oedd o dân gweinidogaethol,
  I gyhoeddi anfeidrol rinweddau yr IAWN.

Ni chafodd fanteision colegawl yn forau,
  Yr hyn a fawr brisiai ar derfyn ei oes,
Ond masnach a'i rhwymodd â'i chedyrn gadwynau
  Flynyddau cyn rhestru dan faner y groes;
A phan yr aeth allan i'r mûr fel gwyliedydd,
  Difreiniwyd ugeiniau o'i ddoniau yn llwyr,
Ni theithiodd hoff Walia o gongl bwy gilydd,
  Fel bydd y Trefnyddion o foreu i hwyr.

Gweddïwr dihafal oedd BOWEN ein gwron,
Yr hyn yw prif addurn y cywir ei galon;
Ei ddidwyll fasnachaeth â gorsedd trugaredd
Oedd amlwg i'w ganfod bob dydd yn ei fuchedd;
Gwir brofion o'r "Gwir Israeliad" gaed ynddo
Mewn masnach—yn gystal â phan yn cymuno.
Gosodai bob amser yn nôd ger ei lygaid
Ogoniant mynegol ei Arglwydd bendigaid.
Ca'dd ddwfn adnabyddiaeth o wendid ein natur
Tuhwnt yn gyffredin i nemawr o'i frodyr.
Ei hoff "Gapel Newydd" oedd ddwys ar ei galon,
Y man cyntaf anadlodd yn awyr y Cristion;
O fan cysegredig! fe'th wlithwyd â dagrau—
Do, do, ac â miloedd, a myrdd o weddiau;
Buost destun myfyrdod i BOWEN hawddgaraf,
Ar lechau ei galon dy enw ganfyddaf.
Llafuriodd yn galed o fewn dy fagwyrydd,
Er codi pob aelod uwchben ei ddyledswydd.

  Gymdeithas Eglwysig—ce'st golled annhraethol,
Dy lwyddiant a'th lesiant fyfyriai'n wastadol;
Os chwythai rhyw gorwynt o'r abred fawr obry
Ar y praidd ganol dydd, er ceisio'u gwasgaru,

Efe oedd lygad-lym, canfyddai o hirbell,
Arferai ddoethineb er lles y ddiadell.
Ond er ei rinweddau a'i holl ddefnyddioldeb,
Bu farw! bu farw! Och! gwelwodd pob wyneb
Yn hollol ddisymwth gadawodd ei frodyr,
A'i deulu'n amddifaid mewn gwae ac anghysur.

Priddellau y dyffryn yn felus sydd iddo,
'Nol diwrnod trafferthus a chaled o weithio.
Rhagluniaeth Jehofa, yn ol dy addewid,
Bydd dirion o'i weddw, yr hon sydd mewn adfyd,
A'i deulu dinodded, sydd yn yr anialwch,
Dwg hwynt yn ddiogel i wlad y dedwyddwch.

Ffarwel it', fy anwyl BOWEN,
Ni chaf aros etto'n hir
Yma mewn anialwch dyrus,
Mae fy nghalon friw dan gur;
Griddfan wyf ac ocheneidio,
Wylo 'n drist tu yma i'r llen;
'Rwy'n gobeithio caf fi etto
'Th gwmni yn y nefoedd wen.

Gwyntoedd cryf y de' a'r gogledd,
Gadewch lonydd iddo'n awr,
I gael cysgu'i hûn yn dawel
Yn mhriddellau daear lawr;
Haul a Lloer, Ser a Phlanedau,
Gwyliwch arno yn ei fedd,
Hyd nes bloeddio'r udgorn olaf,
Yna cwyd i'r lan mewn hedd.

ARCHOLLEDIG

# HANES PONTYBEREM.

GAN MR: STEPHEN EVANS, CILCARW.

PONTYBEREM sydd bentref bychan ar ddyffryn lled ffrwythlawn, mynwes yr hwn sydd yn orlawn o fŵn a glo o'r gwytheni goreu. Gorwedda y pentref uchod ar ran o ddau blwyf, sef Llangendeirne a Llanelli. Mae yr hen brif-ffordd sydd yn arwain o Gaerfyrddin i Abertawy yn myned trwy ganol y pentref; ei bellder o Gaerfyrddin sydd oddeutu naw milldir a thri chwarter, a hyny yn Ddeau Ddwyreiniol. Nid oes un tŷ perthynol i'r lle wedi ei adeiladu ar blwyf Llanddarog, er fod y plwyf hwnw yn cyrhaedd tufewn i ychydig latheni i ganol y pentref; hefyd mae plwyfi Llanon a Llanarthney yn lled agos, er nad ydynt yn hollol ymylu â'r lle. Cafodd y pentref ei enw oddiwrth afon fechan o'r enw Berem. Mae yr afon hon yn tarddu mewn dwy ffynon, sef ffynon Dwba ar fynydd Llangendeirne, a ffynon arall o'r enw Blaenberem yn mhlwyf Llanddarog. Wedi i'r nentydd hyn redeg am ychydig, ymynant â'u gilydd ar dyddyn bychan o'r enw Tanygraig, yn mhlwyf Llanddarog, ac yna cymmera ei rhedfa yn Ddeau Orllewinol i Rhydybiswail, ac oddiyno dylifa yn mlaen gan gadw yr un cyfeiriad, gan ranu plwyfi Llangendeirne a Llanddarog; ac wrth ddyfod i lawr dros wely llithrig o greigle, mae y ddyfroedd mewn amser llifogydd yn ewynu mor rhyfedd nes yw yn edrych yn wŷn braidd fel llaeth; o herwydd bod ei rhedfa mor chwyrn, mae ar ddwfr uchel yn cario coedydd, boncyffau, a cheryg anferthol eu mantiolaeth, pa rai mae yn gloddio allan o'i hymylau wrth fyned yn mlaen. Nid oes hanes iddi foddi neu fod yn angau i ddynolryw ychwaneg nag un, sef bachgenyn 11eg oed, o'r enw Dd. Anthony, yr hwn a gariodd ffwrdd er pob ymdrech a wnaed gan lawer o edrychwyr, i afon Gwendraeth, i'r hon y mae yn ymarllwys. Mae henafgwyr yn anghytuno gyda golwg ar Bontyberem; rhai a haerant mai Pontdanberem yw yr iawn enw, gan gyfeirio at y bont sydd ar afon Gwendraeth ychydig islaw i'r fan lle mae afon Berem yn aberu; ereill a haer-

ant mai Pontarberem yw, gan ddynodi fod y lle wedi cael ei enwi oddiwrth y bont-bren oedd yn croesi afon Berem, cyn fod y trigolion yn ddigon celfyddydgar i adeiladu pont ar Wendraeth. Beth bynag am hyn yna, fe ddichon mai yr enw mwyaf priodol ar y lle fyddai Aberberem, ond galwai un o'r enw Sion Lam Roger wrth wneuthur cân i'r trigolion tua chant a haner o flynyddoedd yn ol, y lle fel hyn, "Pontyberem, Pantyberw, &c." Mae hyn yn profi ei fod yn cael ei alw yr amser hyny yr un fath ag y mae yn cael ei alw yn bresenol. Rhanir y pentref yn ddau ddosparth, sef i'r Gogledd a'r Dëau, gan afon Gwendraeth, pa un sydd yn tarddu mewn llyn o'r enw Llynllech-Owain, ar Mynydd Mawr, yn mhlwyfi Llanarthney a Llanfihangel, oddiyno rheda gan gadw ei chyfeiriad braidd yn gywir o'r Dwyrain i'r Gorllewin, ac abera yn môr Werydd yn *Bay* Caerfyrddin. Mae yr afon hon yn cael ei henwi oddiwrth y tywod gwyn sydd yn draeth iddi wrth ymarllwys, sef gwyn-draeth, ac wrth ei bod yn cymeryd enw menywaidd mae yn cael ei galw Gwendraethfawr, am fod afon arall o'r enw Gwendraethfach, yr hon sydd lai ei maintiolaeth, yn rhedeg yr ochr arall i'r garn galch, sef yn ogleddol i'r pentref uchod, ac yn cydgyfarfod yn y môr yr ochr isaf i Gidweli. Mae Gwendraethfawr oddeutu deuddeg milldir o hyd o'i tharddiad i'w haber, ac y mae yn dra defnyddiol at wasanaeth dyn ac anifail.

Gyda golwg ar adeiladaeth y pentref uchod, mae yn bur debyg mai y tŷ cyntaf a adeiladwyd ynddo, oedd tŷ gweithiwr, yr hwn a godwyd ar lanerch fechan ar làn afon Berem, tua dau cant o latheni o'r tai presenol, yr hwn dŷ sydd wedi myned yn garnedd, ac wrth dynu i lawr yr hen furiau, cafwyd careg ar yr hon yr oedd cerfiad fel hyn M. A. G. 1600. Ceir wrth olrhain hen hanesion, fod un o'r enw Meurig ab Gruffudd, adeiladwr wrth ei gelfyddyd, yn byw yn yr ardal, a thebyg yw mai efe oedd y person a adeiladodd y tŷ crybwylledig. Mae yn debyg mai yr ail a adeiladwyd yn y pentref, oedd un ar dir Nantyglo, (*Coalbrook,*) yn mhlwyf Llanelli, yr hwn a adnabyddir wrth yr enw Alleylâs; mae hwn yn sefyll hyd y dydd hwn. Y trydydd tŷ oedd y *Shemfill*, yr hwn sydd ar dir Cwmllethryd, plwyf Llangendeirne. Gair yw Shemfill sydd wedi ei lygru oddiwrth y gair Jane Phillips, yr hon oedd yn byw ynddo ac yn cadw ychydig fasnach (*shop.*) Yr oedd trigolion y gymydogaeth yn ei galw hi yn

Shân Phil, ac o ychydig i beth fe alwyd ei thŷ yn Shemfill. Yr oedd melin a thafarn yn yr ardal ar dir Capel-Evan tua hanner milldir islaw y pentref, enw y tafarn oedd *Fancy*, ac wrth yr enw yna adnabyddir yn bresennol y tai sydd yn y fan hyny, ac wrth enw yr hen felin yr adnabyddir y tŷ a fu gynt yn felin. Yr oedd tafarn arall o'r enw *New Inn* tua hanner milldir o'r pentref, a hyny yn ymyl y brif ffordd oedd yn arwain o'r lle tua Chaerfyrddin; yr oedd yn agos i'r tafarn yma efail gwedi ei chodi, ond nid ydynt i'w canfod yn bresennol. Tua'r flwyddyn 1670, adeiladwyd Palas presennol Coalbrook; canfyddir yno weithiau celfyddydwyr tra chywrain, ac yn agos i'r un amser fe adeiladwyd yn y pentref crybwylledig melin, efail, a thafarn, yn nghyd â dau neu dri o dai gweithwyr. Enw y tafarn yma oedd y Bont, hyd nes i un William Rees ddyfod adref oddiar y môr, a myned yno yn dafarnwr; ac wrth liwio ei arwydd, (*sign*) fe dynodd lûn cwmpawd morwr, (*Mariner's Compass*,) ac mae yn debyg i rai o'r trigolion gredu mae llun seren oedd, ac yna hwy a'i galwasant yn *Star*, ac felly *Star* yw ei enw hyd yn bresennol. Yn y flwyddyn 1767 adeiladodd un Evan Rees dŷ, ac yn 1770, codwyd yno dŷ ac efail, ac yna yn y flwyddyn 1778, adeiladodd un David Ispect Skym, y *Pelican*, yn nghyd a dau dŷ ereill sydd yn ei ymyl, pa rai oeddynt yr adeg hyny yn weithdai ganddo gan mai gwehydd oedd wrth ei gelfyddyd. Yn 1808, adeiladodd un Daniel Davies, (crydd,) ei dŷ a'i weithdŷ yntau. Yn 1806, cododd Jonah Davies, (mwy adnabyddus yn y lle wrth yr enw Jonah y Bwser) ei dŷ ; ac yn 1812, adeiladodd Joshua Treharne dŷ hardd a masnachdŷ cyfleus, er ei fod wedi adeiladu un cyn hyny, ac mewn ychydig amser cododd ddau dŷ drachefn. Yn y flwyddyn 1815, adeiladwyd y Westfa Newydd, (*New Inn*,) ar draul Walter Bowen ; a thua yr un amser cododd Thomas Jones dŷ a masnachdŷ. Yr hyn a roddwyd uchod oedd yr holl dai ag oedd yn y lle yn 1833. Yn y flwyddyn hon agorwyd y Camlas o gymydogaeth Pontyeats hyd y Cwmmawr ; mae y Camlas hwn yn Ddeau Ddwyreiniol o'r pentref, ac y mae, er mai arafaidd yw ei gludiad, wedi gwneyd daioni mawr yn y lle; dros y camlas hwn mae y glo a'r haiarn, &c., yn cael eu trosglwyddo o waith *Coalbrook* i lawr tua Phenbre a Chydweli; ac yna wedi cyraedd y lleoedd yma, mae llongau cyfleus i'w cael, er myned â'r llwyth i ba le bynag y byddo galwad am dano. Yn amser agoriad y camlas

uchod, fe adeiladwyd amryw dai yn y pentref; yr adeg yma codwyd y tafarn a elwir y *Plough*. Ychydig ar ol y cyfnod hyn fe ddaeth Watneys, Yswd., yn berchenogion ar y gwaith haiarn, ac mewn ychydig fe ychwanegwyd llawer at faintiolaeth y pentref drachefn. Gyda phriodoldeb gellir dywedyd mai y boneddigion uchod sydd wedi bod yn gynhyrfiol achos o gynnydd diweddar y pentref; maent yn ddynion gwladgarol, ac yn feistri dymunol iawn. Cyn agoriad gwaith glo *Coalbrook*, nid oedd y pentref ond bychan iawn, a glöwyr oedd y gweithwyr yn gyffredin, pa rai oeddynt yn gweithio yma a thraw mewn pyllau bychain ar hyd y gymydogaeth, ac yn codi glo at wasanaeth teuluoedd yr ardal, ac hefyd i galchwyr at losgi cerig calch. Y prif bersonau a fuont fel meistri yn cario yn mlaen byllau bychain yn y gymydogaeth hon at y dybenion crybwylledig, oeddynt Meistriaid David Gelly, William Stephens, Thomas Walters, James Anthony, James Myrick, Thomas Meredith, David Thomas, Phillip Gelly, John Jones, William George, Joshua Treharne, Thomas Bowen, a John Davies. Gwnaeth amryw o'r personau uchod ddaioni mawr i weithwyr yr ardal, ac hefyd iddynt eu hunain. Ar byllau bychain o'r fath uchod yr ymddibynai glöwyr y gymydogaeth, nes i berchenogion galluog agoryd gweithiau *Coalbrook*. Ar ol agoriad y gweithiau uchod, cynnyddodd y pentref mewn adeiladaeth, ond yn llawer mwy mewn trigolion, gan fod cynnifer o ddynion dyeithr yn dyfod i'r lle, o herwydd y gweithiau, ac o herwydd fod y tai yn brinach nâ'r trigolion, fe wnawd yr efailau i gyd yn dai byw ond un, a meddyliwn y gellid troi hono etto, o herwydd nid oes gweithio ynddi er ys amser; mae hyn yn rhyfedd nad oes gymmaint â gôf i'w gael i hoelio pedol mewn lle o'r fath hyn; mae hyn yn wir, ac ni cheir yn bresenol un efail o fewn i hanner milldir i'r lle. Mae mwy o blwyfi yn cyfarfod â'u gilydd yn y pentref hwn, nag sydd o ofaint; mae hyn yn hynod, ac nid peth cyffredin iawn yw gweled dosbarth bychan o blwyf yr ochr arall i afon yn nghanol plwyf arall, fel ag y mae dosbarth bychan o blwyf Llangendeirne yn gorwedd yn yr ochr Ddeauol i Gwendraeth, ar yr hwn y mae pedwar tŷ a hanner wedi eu hadeiladu, a'r hanner arall o'r pumed tŷ yn gorwedd yn mhlwyf Llanelli; pan byddo trigianydd y tŷ rhanedig hwn yn cysgu yn ei gwely, mae un ran o honi mewn un plwyf a'r llall mewn plwyf arall.

Dywedir gan hen bobl i dro hynod iawn gymeryd lle yn y gymydogaeth hon oddeutu càn mlynedd yn ol. Yn ol yr adroddiad uchod, ceir fod gweithio mewn pwll glo gerllaw *Coalbrook,* ac fel yr oedd un o'r glöwyr yn dyfod i'r lan trwy y pwll hwnw, i'r awyr anmhur dânio a thori allan mewn modd dychrynllyd iawn, ac i'r awel gydfynedol ag ef i chwythu y dyn ffwrdd fel na welwyd gymmaint a chymmal o hono byth, ond ei droed a'i esgid, pa rai a gafwyd ar gae Neuadd-ddu, yr hwn oedd oddeutu hanner milldir oddiwrth enau y pwll crybwylledig. Er fod llawer o siarad am yr hanes uchod, etto nis gallwn brofi ei eirwiredd; ond os cymerodd dygwyddiad o'r fath le, mae yn rhaid ei fod yn syn rhyfeddol; ond er y cwbl credwn na chafodd gymaint o argraff ar feddyliau y trigolion ag a gafodd y ddamwain echryslawn a bythgofiadwy a gymerodd le yn ngwaith *Coalbrook* Mai 10fed, 1852. Yn yr adeg ofidus hyn, pan oedd y gweithwyr yn gweithio yn nghrombil y ddaear, ymollyngodd y graian yn nghyd a'r pwll ag oedd ar waith, a thrwy y safle ddychrynllyd hyny torodd i mewn i'r gwaith lle yr oedd y glöwyr yn gweithio, lifeiriant o ddwfr, ceryg mawrion, dosbarth helaeth o dir, yn nghyd â chloddiau cyfain; yr holl gymysgfa hyn a gymerodd ei ffordd o bwll y suddfa tua'r pwll lle yr oedd y gweithwyr yn aros, ac a lanwodd yr holl waith, ac felly bu yn angau i chwech ar hugain o ddynion! Saith ar hugain oedd yr oll ag oedd yn gweithio yr amser sobr hyny, un bachgenyn yn unig a ddiangodd, ac yr oedd diangfa hwnw braidd yn wyrthiol. Boreu sobr, chwerw, a gofidus rhyfeddol oedd y boreu uchod i drigolion Pontyberem, yn nghyd ag i lawer yn yr ardal, a manau ereill ag oedd yn dal cyssylltiad â'r trueiniaid anffodus a orfu mor sydyn ymddangos o flaen Barnydd yr holl ddaear. Pan welodd Watneys, y perchenogion, fod y fath ddamwain arswydus wedi cymmeryd lle, bod cynnifer o gyrff ar gôll, penderfynasant ar unwaith i gael y sorod ymaith, er cael y marwolion a'r gwaith i'w sefyllfa gyntefig. Yr oedd dros dri ugain mil o latheni cubaidd o dir marw i glirio, ac yr oedd trwy y wasgfa aruthrol a fu arno wedi myned mewn llawer *heading* braidd yn galetach nâ'r glo. Costiodd y dygwyddiad uchod i'r meistri filoedd o bunnau, yr hyn a dalasant yn ddiddig a dirwgnach. Teilynga y boneddigion uchod, yn nghyd â'u harolygwyr, barch ac anrhydedd mawr am eu gwroldeb a'u hymdrechion dihafal o barthed i'w gweithred-

oedd canmoladwy yn nygiad yn mlaen eu gwaith ar ol y ddamwain. Gellir dweyd i'r meistri hyn ymddwyn yn neillduol o dda, tirion, a theimladwy tuag at weddwon ac ymddifaid y rhai a gawsant eu diwedd; buont yn offerynol i gasglu gan ddyngarwyr y cymydogaethau symiau mawrion o arian, a thrwy eu cydweithrediad hwy, yn nghyd â boneddigion tosturiol ereill, cyfranwyd cannoedd o bunnau i'r gweddwon trist a phruddaidd crybwylledig. Hefyd rhoddasant eirch at gladdu y pymtheg corff a gafwyd, ac y maent yn barod bob amser i roddi llaw o gymmhorth i'r perthynasau galarus.

*Dysgeidiaeth y pentref.*—Prin iawn mae cyfryngau gwybodaeth trwy ysgolion dyddiol wedi bod yn y lle; nid oedd yma un math o ysgol ddyddiol cyn y flwyddyn 1830. Cyn hyny yr oedd yn rhaid i fyned naill ai tua Chapel-Evan, Capel-ffosfelen, neu Capel Seion, ac yn fynych iawn gwelwyd amseroedd pan nad oedd ysgol i gael yn un o'r Capeli uchod, ac yna yr oedd yn rhaid myned tua Llangendeirne os byddai awydd am ddysgeidiaeth. Yr ysgolfeistri a fuont yn cadw ysgol ar droion yn y capeli uchod oeddynt Meistri Samuel Anthony, Thomas Jones, Walter Jones, John Raynor, a Thomas Jones, a'r ysgolfeistri a fuont yn y pentref ar ol y *date* a nodwyd uchod, oeddynt Meistri Joseph Jones, David Jones, Thomas Jones, William Broad, William George, John Evans, David Williams, Morgan Jones, a Richard Griffiths, yr ysgolfeistr presenol, yr hwn sydd yn cadw ysgol mewn adeilad perthynol i'r *New Inn*. Mae yma wir angen am ysgoldŷ cyfleus ac ysgolfeistr sefydlog; yn ddiamau fe fyddai hyn yn fendith fawr er diwyllio a choethi meddyliau ieuenctyd y pentref a'r gymydogaeth sydd yn sychedu am ddysgeidiaeth.

*Crefyddoldeb y lle a'r gymydogaeth.*—Nid oedd yn y pentref uchod un addoldŷ hyd y flwyddyn 1816. Mae yn debyg mai y Methodistiaid oedd yr enwad cyntaf a ddaeth i'r ardal hon; ac wedi bod yn pregethu am flynyddau o dŷ i dŷ, ar hyd a lled y gymydogaeth, penderfynwyd fod pregeth i gael ei thraddodi yn y *Brandyway*, fferm fechan gerllaw y pentref. Yr oedd areithfa wedi ei chodi yn y lle hwnw, ac yr oedd yno le gwych i addoli; ond yn y flwyddyn 1790, fe benderfynodd y brodyr, trwy anogaeth y Parch. Mr. Jones, Llangan, ac ereill, y buasai yn well iddynt adgyweirio yr hen Gapel a elwid Capel-Evan (gelwir hwn yn Gapel St. John yn bresenol) yr hyn a wnaed, ac yno y buwyd

yn cynal cyfarfodydd hyd 1830. Yn y cyfnod hwn fe aeth rhyw anghydfod rhwng rhai o'r aelodau, ac yna fe ddygwyd achwyniad at y Parch E. Morris, Llanelli, a danfonodd yntau swyddogion i gloi drysau y Capel, ac fel hyny darfu am danynt yn y fan hôno. Ar ol hyn buont drachefn heb un lle neillduol i addoli. Yn y flwyddyn 1834 codasant y capel presenol, sef Soar, ar dir Cilcarw, o fewn oddeutu chwarter milltir i'r pentref. Cynwysa yr eglwys uchod yn bresenol 37 o aelodau, a'r Ysgol Sabbothol oddeutu 60. Yn y flwyddyn 1813 dechreuodd y Wesleyaid bregethu yma; buont yn cynal cyfarfodydd am ddwy flynedd yn ymyl y pentref, mewn tŷ a elwir *Saint Domingo*, ac yn fuan codasant addoldŷ ar ran o fferm y Trallwm, ar Bancffosfelen, oddeutu milltir o'r pentref. Mae yr achos yma gwedi myned yn wan, ac nid oes pregethu yn y capel ond yn anfynych iawn.

Yr oedd pregethu ar rai troion gan yr Annibynwyr mewn fferm gyfagos o'r enw Cilcarw-uchaf, gan mai pregethwr Annibynol oedd yn byw yno (o'r flwyddyn 1788 hyd y flwyddyn 1833) o'r enw Evan Evans. Yr oedd amryw weinidogion ereill yn galw yno wrth fyned heibio, ac felly yn pregethu yn achlysurol yn y tŷ crybwylledig. Tua 1812, cymerodd ymryson le rhwng rhai o aelodau y Methodistiaid, ac yn y cyfnod hwnw fe aeth Joshua Treharne, ynghyd â'i wraig, yn aelodau at yr Annibynwyr yn Bethania, eglwys oddeutu tair milltir o'r pentref; ac wedi iddynt deithio yno ychydig amser, hwy, a gwraig Evans, Cilcarw, a benderfynasant wneyd eu goreu i gael codi tŷ-cwrdd yn ardal Pontyberem. Ar ol hyn, gwedi siarad ag amryw weinidogion ac ereill, gwnaed ymchwiliad am gael lle i adeiladu; ond gan fod y fath wrthwynebiad gan berchenogion y tiroedd at y fath beth, hwy a fethasant gael un man yn y pentref. Er iddynt fethu yn eu hamcan y waith hòno, ni ddarfu iddynt roddi y gorchwyl i fynu; ond aeth Mr. Treharne at Mr. William Rees, a chan eu bod yn gyfeillion, rhoddodd Mr. Rees yn garedig ddarn o'r ardd perthynol i'r *Star*, a enwasom yn flaenorol, at adeiladu y capel. Bu Mr. Rees yn haelfrydig iawn, rhoddodd y darn uchod am un mil ond un o flwyddau a hyny am ddim ond pybyrun y flwyddyn o ardreth, wrth iddo ef gael deg punt yr amser hyny. Fel hyny y gwnawd, ac yna yn 1816, adeiladwyd Caersalem, a gyfeiriwyd ato yn flaenorol, a hwn oedd yr Addoldŷ cyntaf a godwyd yn y lle. Yn 1842 prynodd Mr. David Gravel, Cwm-

felin, ger Caerfyrddin, fferm gyfagos a elwir Brandy-way, ac wrth weled nad oedd gan yr Annibynwyr un fynwent yn y lle, efe o'i haelfrydedd a'i sel ddiysgog dros Annibyniaeth a gynnygiodd le addas a chyfleus i adeiladu tŷ newydd, yn nghyd â lle ëang at gladdu, ar ran dymunol o'i fferm newydd, a hwnw yn hollol gyfleus i'r pentref. Ar un waith cofleidiodd y frawdoliaeth y cynyg caredig, ac yn y man gwerthasant yr hen dŷ, ac adeiladasant y capel presenol, sef Caersalem Newydd, yn 1843. Bu Mr. Gravel yn hynod haelfrydig—uwchlaw dysgwyliad y trigolion : nid oedd yn foddlawn wrth roddi ei dir yn unig, ond efe a gyfranodd yn helaeth ei aur a'i arian er dwyn yn mlaen yr addoldŷ newydd. Mae y capel uchod yn adeilad hardd, ac yn addurn i' r pentref. Perthyna iddo fynwent led ëang, ac y mae llawer iawn wedi eu claddu eisioes ynddi. Teilynga Mr. Gravel ganmoliaeth a pharch, nid yn unig gan yr eglwys uchod, ond hefyd gan drigolion y pentref a'r ardal yn gyffredinol, am ei ymdrechion daionus er cyrhaedd a dwyn yn mlaen pob achos da. Cynyga yn bresenol dir at godi ysgoldŷ. Diolchwn yn wresog iddo am ei haelfrydedd, a gwir hyderwn na chaiff cynnygiad mor werthfawr i fyned heibio yn ddisylw, gan fod cymmaint o angen am dŷ o'r fath, er gwrteithio meddyliau y dô ieuanc. Rhif aelodau Caersalem Newydd yn bresenol yw tua phedwar ugain. Mae yma Ysgol Sabbathol; rhif cyffredin yr ysgolheigion yw oddeutu chwech ugain.

Nid oedd un math o Ysgol Sabbathol i'w chael mewn un lle yn yr ardal hon cyn 1808; yn y cyfnod hwnw, pan oedd Mr. John Raynor yn cadw ysgol ddyddiol yn Nghapel-Evan, meddyliodd y buasai yn dda i gynal Ysgol Sabbathol, er ymdrechu darbwyllo y plant, rhag myned i chwarae ar ddydd yr Arglwydd. Felly, un diwrnod cyhoeddodd wrth y plant, a'r rhai hyny a hysbysasant y peth i'w rhieni ac ereill, fod Ysgol Sabbathol i gael ei chynal mewn ffermdŷ y Sabbath canlynol. Y Sabbath a ddaeth, a chafwyd ysgol luosog; ac felly buwyd yn ei chario yn mlaen o dŷ i dŷ am flynyddau lawer, nes codi capeli y gymydogaeth. Yn ddiameu, fe wnaeth hyny ddaioni mawr yn yr ardal, o herwydd cyn hyny nid oedd y mwyrif o'r ieuenctyd yn gwneyd dim ond cyfarfod â'u gilydd ar y Sabbath i chwarae pob campiau yn ol y tymhorau. Yn fynych gwelwyd rhyw dri neu bedwar ugain, o bob oedran, yn cyfarfod â'u gilydd ar Sabbath têg a dymunol, ac

yna ymranent yn ddwy fintai,—elai un dosparth at y bêl law, a'r dosparth arall at y bêl droed, y trydydd at y *quoits*, a'r pedwerydd at y bando. Ond os gwlawiog fyddai y Sabboth, byddai rhai yma ac acw yn siarad am ysbrydion a chanwyllau cyrff, ynghyd ag enwi bwcciod y gymydogaeth, megys milgi y Cae-newydd, milwyr y Cae-drain, dyn heb un pen ar yr Heol-felen, dwy *lady* â chadwyni haiarn uwchben y Fancy, *lady* wen yn Marchoglwyn —ynghyd â llawer o'r cyffelyb, rhy faith i'w henwi. Diolchwn yn wresog am fod oes y canwyllau cyrff ac ysbrydion o'r fath a nodwyd wedi myned heibio, a bod ieuenctyd ein gwlad ar ddydd yr Arglwydd yn dysgu yr Ysgrythyrau Santaidd, y rhai a roddant iddynt hyfforddiadau i fyw yn sobr yn y byd hwn, ac a roddant gyfarwyddiadau er darparu erbyn byd dyfodol.

Cynwysa y pentref yn bresenol 58 o dai, glendid y rhai a ddangosa drefnusrwydd a gweithgarwch y rhyw fenywaidd; rhif y trigolion yw oddeutu 275, dull y rhai o fyw sydd wych o foesol —oddieithr ychydig eithriadau, fel y gwelir yn gyffredin mewn lleoedd cyffelyb. Glowyr yw y rhan luosocaf o'r gweithwyr, y rhai a weithiant dan y Meistri Watneys yn Coalbrook. Mae y boneddigion uchod yn haeddu eu canmol a'u parchu gan drigolion y lle am eu hymdrechion daionus er llesoli yr ardalyddion; ac y maent bob amser â'u cyfrifon mor gyson, fel y mae yn ddywenydd gan bob gweithiwr i edrych yn mlaen at ddydd y cyfrif.

Sefydlwyd Llythyr-dŷ yn y lle y flwyddyn ddiweddaf, yn nhŷ Mr. Jacob Davies. Yr oedd gwir angen am hyn er ys blynyddau, gan fod y lle can belled o Gaerfyrddin a Llanelli. Mae yn y pentref yn bresenol bump o dafarndai, sef y *Plough*, a gedwir gan Mrs. Margaret Williams; y *Pelican* gan Mr. John Thomas; y *Star* gan Mr. Andrew Adams; y *Bridgend* gan Mr. W. Lover, (yr hen dŷ-cwrdd a werthwyd gan yr Annibynwyr yw y tŷ hwn;) a'r *New Inn* gan Mr. Thos. Williams. Tair yw nifer y siopau, y rhai a ddygir yn mlaen gan Meistri Thomas Treharne, Joseph B. Hopkins, a David Davies.

Mae y pentref hwn yn hynod enwog am gymdeithasau dyngarol: cynwysa y Gyfrinfa Iforaidd, a elwir Dyffryn Gwendraethfawr, yr hon a gynelir yn y *New Inn*, oddeutu 126 o aelodau; y mae yn y tŷ hwn hefyd Gyfrinfa serchog iawn o Iforesau, a adnabyddir wrth yr enw Claudia; mae Cyfrinfa arall o Iforiaid yn y *Plough*, a elwir Ioan Sant, a rhif yr aelodau yw oddeutu 45;

yn y *Pelican* mae Cyfrinfa dda iawn o Odyddion, rhif yr aelodau yw oddeutu 80. Mae y cymdeithasau dyngarol uchod yn myned yn mlaen yn flodeuog a brawdol neillduol.

Mae rhagolygon y pentref a'r gymydogaeth yn edrych yn dra ffafriol, ond nid oes cymaint o lewyrch ar yr achos goreu yn bresenol gan un enwad yn yr ardal ag a ddymunem. Mae y Bedyddwyr yn siarad yn fynych am godi capel yn y lle; yn ddiamheuol genym, byddai hyny yn fendithiol iawn, gan nad oes un capel perthynol i'r enwad hwnw i'w gael yn agosach nâ Phont-henry, yr hyn sydd oddeutu dwy filltir o'r pentref uchod. Mae y Parch. Joseph Evans, Bryngwenyn, gweinidog Caersalem Newydd, (sef yr unig addoldŷ yn y lle) yn bregethwr doniol a da; ac y mae, yn yr 16eg mlynedd diweddaf, gwedi bod yn offerynol drwy gymhorth gras i droi llawer yn y pentref a'r gymydogaeth o gyfeiliorni eu ffyrdd at y gwir a'r bywiol Dduw. Cynyddu a wnelo trigolion Pontyberem a'r amgylchoedd mewn nodweddau rhinweddol; bendithion tymhorol ac ysbrydol fyddo eu rhan, fel y gallont fyw yn gysurus yn y byd hwn, a marw mewn gobaith o fwynhau gwir ddedwyddwch mewn byd sydd yn llawn o sylwedd.

CARWR HILIOGAETH.

---

# CAN O GLOD

I

## MEISTRI PHILLIPS, SMITH, A'U CWMPEINI,

### GWAITH ALCAN DAFEN, LLANELLI.

---

*Tôn—"Glân Meddwdod mwyn."*

---

GAN MR. WILLIAM THOMAS, CAERFYRDDIN,

(*Gwilym Mai.*)

---

Cyweirier pêr dannau telynau'r hen wlad,
Er cadw'n henwogion mewn ffyddlon goffâd,
Er dadgan gwir fawredd ein bonedd drwy'r byd,
A rhoi i deilyngdod ei haeddglod o hyd.
Dadgeiniaid yn gydwedd un duedd fo'n d'od
I gywir glodfori, i g'lymu iawn glod,
I'n mawrion rhinweddol a buddiol sy'n bod;
A'r mwyaf mewn mawrglod ar dafod pob dyn,
Y byddo perch'nogion hael union o lun
Gwaith Dafen, Llanelli—y teulu cytun.

Dau gyfaill dihafal, a dyfal ddau dŵr,
Yw Phillips oleubryd, Smith hefyd, ddoeth ŵr,
A'u bwriad a'u hymgais, eu dyfais a'u dawn
I borthi dynoliaeth â lluniaeth yn llawn;
Rhoi bywyd ac yni, rhoi gwythi drwy'r gwaith,
Rhoi grym i'r olwynion droi'n llyfnion, nid llaith,
Rhoi calon i ddynion, a moddion er maeth;
Rhoi cysur i'r dalaeth, rhoi gobaith i'r gwan,
Rhoi bwyd i'r newynllyd, rhoi hawddfyd i'w rhan,
Rhoi aur a rhoi arian yn llydan drwy'r llan.

Tra llyfnion yw'r llafnau, mal gwydrau teg ynt,
Neu'r arian fo'n diwael ymadael o'r *mint;*
Atebant i ddynion ar droion mal drych,
I ganfod eu hunain yn gywrain a gwych;
Yr haiarn a boethir, a gurir â gyrdd,
A yrir trwy droellau ffwrneisiau'n mhob ffyrdd,
Eu gweled sydd syndod, rhyfeddod i fyrdd;
A'r gweithwyr sydd beunydd drwy'u gilydd yn gwau,
Ynghylch eu gorchwylion mal glewion yn glau,
'Does le i'r diogwyr na'r segur nesâu.

Mae Gwaith Alcan Dafen drwy Brydain mewn bri,
A'i glod yn gyhoeddus drwy'n "Hynys Wen" ni;
Iwerddon a'r Alban yn gyfan i gyd,
Cael meddiant o'r Alcan eu hamcan o hyd;
Fe'i cludir dros foroedd a llynoedd yn llon,
I Ffrainc ac Awstralia, i Brwssia o'r bron,
A Rwssia gaiff lawer trwy'r dyfnder a'r dòn;
Mae muriau'r Amerig yn debyg i *din,*
Eu teiau wresogir, a herddir drwy hyn,
A Dafen gyhoeddir o frodir i fryn.

Mae gweiniaid Llangennech â'u hymdrech o hyd,
Am barchu'r perch'nogion o galon i gyd,
A gwyr Pontarddulais yn unllais yn wir,
Ddymunant hir einioes deg eirioes i'r gwyr,
Felinfoel a Llanelli, eu gweddi deg yw,
Am gysur a llwyddiant, urdduniant gan Dduw,
Mewn bri ac anrhydedd i'w bonedd gael byw;
A'r werin gydeiriant, gydgordiant y gân,
Am lwydd y Cwmpeini'n cordeddu ar dân,
A'r Gwaith fo'n ei fawredd gan mlynedd yn mla'n.

LLEWELYN.

---

# DEUDDEG ENGLYN I IFORIAETH.

GAN Y PARCH. J. R. MORGAN, LLANELLI,
(*Lleurwg.*)

MYFYRIAF am IFORIAETH—a chanaf
I'w cheinion ehelaeth,
Yr eres dduwies a ddaeth
O'r nefoedd er ein hafiaeth.

Undeb, haeledd, a chyfiawnder—ddysga
'R urdd esgyd bob amser,
Meithriniad pob teimlad têr,
A deifiad pob nwyd ofer.

I'r clwyfus rai, i'r cleifion,—maeth ydyw,
Methedig, a thlodion,
A diymgeledd weddwon
Gânt yn hawdd wir nawdd yn hon.

Holl gau fantellau twyllwyr--adwaen hon,
Dawn a iaith drygfrydwyr;
Pob rhyw rith o ragrithwyr,
Draw, o'i gŵydd y ffy'r drwg wyr.

O gylch yr Omeriaith gu—yn hollol
Castella'r Urdd wiw-gu,
Ei da orchwyl yw derchu
'R hynaf iaith i'r hyn a fu.

Drwy faeth Iforiaeth, yn fyw—ei cedwir,
Pe codai anghyfryw
Fyddinoedd, lluoedd pob llyw
Du estron, am ei dystryw.

Ei nodded i lenyddiaeth—ein iach wlad,
Sydd uwchlaw canmoliaeth,

Portha'i meib perth, â maeth
Bwydydd byrddau gwybodaeth.

Urddas y Cymdeithasau—Cymröawg,
A'u hamrywiol ddoniau,
Gynwys hon yn gynes, a'u
Bywyd, heb un o'u beiau.

Dwyn i glod yr Eisteddfodau—a wnaeth,
Yn eu holl rinweddau;
O'i ph'lasau heirdd, beirdd y bau
Dâniant Gymru â'u doniau.

Areithwyr fel gwyr Athen—a godant
Yn gedyrn goleulen,
A gwyr gwych, fel meib Groeg hen
Yn odiaeth dan ei haden.

Cyn hir fe'i gwelir, Urdd gu—wedi llanw
A'i dillynwedd Gymru,
Ingion dwys, ac angen du
O'i golwg yn ymgelu.

Heddwch, gwladgarwch gwrawl—a difai
Dyfant yn wyrdd-fythawl
Ei bri'n ei gerddi, a'i gwawl—posīau
A gawn â'u blodau gwyneb-ledawl.

*"Un a wyr lle safai eurllys Ifor."*

## DYFODIAD Y REILFFYRDD I GYMRU.

GAN MR. W· DAVIES, LLANDILO,

*(Gwilym Teilo.)*

HAWDDAMOR ! dyfodiad y Reilffyrdd i Gymru,
  Er iddynt greu tybiau anhygoel yn mryd
Rhyw rai sydd yn wastad yn chwareu'r proffwydi,
  Yn adwaen Rhagluniaeth--yn deall y byd !
Dywedent y deua'r amaethwr i ddystryw,
  Na fyddai fawr gofyn, na phris ar ei farch,
Ond wele'r amaethwr yn aros hyd heddyw,
  Ac am ei anifail—dauddyblyg yw'r arch.

Dywedent y byddai attalfa ddinystriol
  Ar waith y camlesydd—a bydd, meddent hwy,
Atalfa ar filoedd o weithwyr egniol,
  A mawr a fydd trymder eu pwys ar y plwy'.
Boed dystaw tafodau'r proffwydi gau bellach,
  Mae pob drwg-argoelion yn awr wedi ffoi,
A mil-fil olwynion rhagluniaeth a masnach
  Oll yn eu perffeithrwydd cyntefig yn troi !

Daw'n awr anifeiliaid y moelydd i waered,
  Ca plant y gwastadedd ddigonedd o gig,
Cânt hwythau'r amaethwyr y bryniau agored,
  Wyrddlesni'n gyfnewid o'r ardd ac o'r wig.
A chânt, yn gyfnewid am ddaoedd ac enllyn,
  Gynyrchion ynysoedd llysieuog y byd ;
A hwyrach y cawn ni gyfarfod ar derfyn
  Rhyw gangen o reilffordd i wledda ynghyd !

Ca meibion y trefydd ymwel'd â'r mynyddoedd,
  I edrych ar natur 'n ei gwisgoedd ei hun,
A hwythau'r mynyddwyr gânt dd'od i'r dinasoedd
  I wel'd ardderchawgrwydd athrylith y dyn ;

Ymdeithydd ! rho dro tua gwlad y mynyddau,
 Mae pob peth sydd yno yn ddwyfol ei lun;
Mae natur yn eistedd ar ben y clogwynau
 Mewn mawredd ofnadwy—yr eiddo ei hun !

Tyr'd ! tyr'd, ddaearegydd, i edrych ei chreigiau,
 Cei arnynt hanesion cofnodau a fu;
Tydi a ddychweli o blith rhyfeddodau,
 A'th wnant megys angel—yn arddun a chu.
Diwellir athrylith y bardd a'r arluniwr
 Gan swynion a drig yn ei thlws olygfeydd;
Ac yntau'r gallofydd gan fasnach a dwndwr,
 Eangder a chyfoeth, a nerth ein gweithfeydd.

Dyrchafwyd hen Gymru anhygyrch ei moelydd
 I nen anianyddol ogoniant y byd;
O ran ei masnachaeth gyfoethog, ysblenydd,
 Ei haul a dywyna drwy'r ddaear i gyd.
Eangodd y Reilffyrdd ar lwyddiant ei masnach,
 Drwy estyn rhadlonrwydd, hwylusdod, a nerth;
Ond beth am ei moesol fendithion hi—bellach,
 Maent hwy yn fwy dwyfol eu hansawdd a'u gwerth.

Estynwyd cyfleusdra i lawer athrylith
 Gyfoethog, oruchel, ddihafal, a mâd,
I arllwys ei harddwch, a thywallt ei bendith
 Ar lawer parth unig rhwng bryniau fy ngwlad;
Ar hyd-ddi yn tramwy ceir dawn odidocaf,
 Dyngarwr a llenor, athronydd a bardd,
Hyawdledd y senedd, a swyn yr areithfa,
 A nerth yr argraffwasg, a'r cyfan yn hardd !

Mae gwedi eangu terfynau gwareiddiad,
 Hi chwiliodd gilfachau tywyllion fy ngwlad;
Cyfranodd foesoldeb, prydferthwch, a chariad,
 I lawer ysmotyn nas gwybu'r mwynhad;
Hwylusodd ar gamrau celfyddyd a gwyddor,
 Gwybodaeth o'i herwydd gynyddodd yn fawr;
Mae'n dwyn ei chyfryngau i mewn fel y cefnfor,
 Sylfeini dedwyddwch osododd i lawr !

Gwnaeth hon megys Gymru fynyddig yn wastad,
  Hi wisgodd unigedd y goedwig a'r glyn,
A bywyd a harddwch, gan ddwyn tlws wareiddiad
  Y dref gyfaneddol at wylltedd y bryn!
O'i herwydd ymledodd ein trefoedd fel cwmwl,
  Lle'r oedd pump aneddfan yn awr y mae saith;
Dyfodiad y Reilffyrdd i Gymru fu'n swmbwl
  I fasnach, celfyddyd, a gwyddor, a gwaith.

Mae trem anianyddol fy ngwlad yn mynegu
  Fod etto fawr lanw ei llwyddiant yn ol;
Pwy ŵyr am y llechau, y mŵnau, a'r meini,
  A'r cyfoeth anfeidrol sydd 'nawr yn ei chol?
Daw'n amlach ei Reilffyrdd, ei masnach hi hefyd
  Eanga nes myned yn Dyrus 'r holl fyd;
Bydd moes a gwybodaeth, a dawn a dedwyddyd,
  A llwydd yn teyrnasu ar led ac ar hyd.

Fynyddoedd Gwyllt Walia! gogwyddwch eich penau,
  Estynwch hwy dros y dyffrynoedd i lawr,
Anerchwch eich gilydd er mwyn y cofnodau
  Dreuliasoch yn rhywle'n nyfnderau'r môr mawr,
Pan oedd yr Atlantig yn gollwng ei dônau
  Mewn mawredd ofnadwy'n nghyfeillach y gwynt,
I'r lan tua Norway synedig—a chwithau
  Fe allai'n eu gwrandaw yn myn'd ar eu hynt.

Tydi, O Flawr Eang! chwi Fânau Brycheiniog,
  Tydi, O Eryri, a'r Wyddfa lwyd wawr!
Gohebwch â'ch gilydd, chwedleuwch yn wresog,
  Mae i chwi gyfleusdra rhagorol yn awr;
Ni raid i chwi mwyach wrth udgorn y daran,
  Nac aros wrth gerbyd anwadal y gwynt;
Mae'r Reilffyrdd yn cyffwrdd â'ch ystlys chwi weithian,
  Ac heibioch mae'r ager yn myn'd ar ei hynt.

Chwi drefydd sydd gyflawn o fywyd masnachaeth,
  A chwithau ddinasoedd cyfoethog y byd,
Ysgydwch eich dwylaw, fe ddygodd peirianwaith
  Chwi heddyw yn agos i'ch gilydd i gyd;

Caerodor, Caeredin, Caerludd, a Llynlleifiad,
  Caerdydd, a Chaerfyrddin—fe'ch dygwyd yn un ;
" Gwnaed pellder ac amser yn gam ac yn eiliad,"
  Drwy gyfrwng y Reilffyrdd—Athrylith y dyn!

Pa beth oedd yr hardd ond cynhyrfus olygfa
  A welodd y Proffwyd yn agor ar daen ?
Pan ddywed " y byddai'n y dyddiau diwedda'
  " I ddynion gael rhedeg yn ol ac yn mlaen ;"
Pan hefyd y dywed dan swyn ysbrydoliaeth,
  Y byddai gwybodaeth yn mawr amlhau ?
Ai nid gwel'd y Reilffordd a'i nefol drafnidaeth,
  Ar ddirgel ddyfodiant—yr oedd yn nesâu ?

Os oedd d'od y Reilffyrdd fel hyn yn dwyn sylw,
  A sêl ysbrydoliaeth, nid dibwys yw hi ;
Mae iddi orchwyliaeth nas gwyddis ei henw,
  Ysbrydol ei natur, goruchel ei bri ;
Pan wawrio'r milflwyddiant ar gelfau'r holl ddaear,
  Fe'i gwelir pryd hwnw'n nghyflawnder ei swydd,
Bydd da gan yr agerdd a'r fellten gael gwasgar
  Trysorau'r Efengyl, ac hebrwng ei llwydd.

Cyfandir cyn hir, wrth gyfandir ehelaeth,
  Ac ynys wrth ynys a g'lymir yn nghyd,
A theyrnas wrth deyrnas, a thalaeth wrth dalaeth,
  A dinas wrth ddinas, drwy'r ddaear i gyd ;
Ac unir pob mynydd, pob moel, a phob dyffryn,
  Bydd cyflym a difyr, a dedwydd pob taith ;
Pryd hyn bydd y Reilffordd yn ddrych ac arwyddlun
  O undeb ysbrydol pob llwyth a phob iaith.

*" Saer y gerdd o Sir Gaer."*

---

# CAN O GLOD
## I
## GWMPEINI GLO LLANGENECH.

GAN MR. DAVID BOWEN, LLANELLI,
*(Dafydd ab Owen.)*

I GWM'NI Glo Llangenech rhown ganiad wiw o glod,
Teilyngant am eu hymdrech eu parchu tra mewn bod,
Ni fu o fewn y gwledydd eu gwell i'r gweithiwr gwan,
Enynant fy awenydd i'w codi'n uwch i'r lan.

Er llu o anhawsderau i ddwyn y Gwaith yn mla'n,
Er dirfawr ddifrodiadau trwy rym yr elfen dân,
Eu Gwaith ni attaliasant, ei gyflog g'ai pob dyn,
O'r holl rai a gyflogant, eu canmol wna pob un.

Er iddynt gael eu siomi yn y gwythieni glô,
Ni wnaethant ddigaloni, na gwelwi unrhyw dro,
Ymdrechent drwy bob moddion i ddwyn y Gwaith yn iawn,
Fel gallai llu o ddynion gael gweithio'u dydd yn llawn.

Mae ganddynt rêd-le* gampus i gario'r glo i lawr,
I'r porthladd â yn hwylus, y draul nid yw yn fawr,
Ac yno mae y llongau yn aros am ei gael,
Am dano mae galwadau, a'i bris 'dyw byth yn wael.

Daw llongau gwledydd tramor i gludo glo i'w gwlad,
Marsiandwyr pob rhyw oror a'i prynant yn ddi-wâd;
'Does drafferth byth i'w werthu, yn rhwydd fe â o hyd,
Ei glod sydd yn ymledu, cyrhaedda eitha'r byd.

Pan fyddo rhyw ddamweiniau yn cwrddyd â rhyw un,
Aberthant eu meddianau i gadw'i deulu cun;

* Incline.

Un amser nid arbedant holl rym eu cyfoeth mawr,
Eu haur a'u harian roddant i loni teulu'r llawr.

Nid ydynt hwy'n gorthrymu, na gwasgu ar y gwan,
Cynygant ei ddyrchafu, a'i godi'n uwch i'r lan;
'Does dim a lona'u calon yn fwy nâ gwel'd pob un
Drwy rinwedd ei ymdrechion yn *annibynol ddyn.*

Mae ganddynt oruchwylwyr deilyngant barch y byd,
Y maent yn ddynion trylwyr, canmolir hwy o hyd;
Yn draws ni arglwyddiaethant ar feddwl unrhyw un,
Yn addas hwy ymddygant, gan barchu dyn *fel* dyn.

Eu cyfoeth mawr a dreuliant i wneuthur lles i'r wlad,
Mewn gwneuthur da ymhoffant, cyfranant roddion mâd;
Y gweithwyr tân-ddaearol, a'r rhai sydd ar y twyn,
A ro'nt eu clod yn unol, ni chlywir unrhyw gwyn.

Yn rhad darparant ysgol i blant ein gwlad o'r bron,
Cânt addysg dda'n feunyddiol, rhieni wneir yn llon;
I'r meistr hwy a dalant ei gyflog bob rhyw bryd,
Ac am y plant gofalant, gwobrwyir llu o hyd.

Boed llwydd i'r holl Gwmpeini tra fyddont hwy yn bod,
Eu henwau gaffo'u dyrchu, uwch, uwch yr elo'u clod;
Na fydded 'stormydd adfyd i gwrddyd byth â'u bron,
Chwanegu fyddo'u gwynfyd tra ar y ddaear hon.

Rhyw luoedd sydd yn Nghymru yn lloni yn eu llwydd,
Hwy gânt eu cyson barchu, canmolir hwy yn rhwydd;
Ni fu o fewn y siroedd eu gwell i'r gweithwyr oll,
Hwy berchir gan ryw filoedd 'does ynddynt byth un coll.

Gan hyny, rhoed Llanelli, Llangenech gyda hi,
Y clodydd i'r Cwmpeini gorona'n broydd ni;
Uwch, uwch yr elo'n gyson y rhai lesola'r byd,
Diolchgar fo pob calon, mawryger hwy o hyd.

GWLADGARWR.

---

## PENILLION I AFON MORLAIS.

GAN MR. JOHN GRIFFITHS, LLANELLI.

HEN arfer y Cymry yw canu'n dra llon,
Ar amryw destunau a roir ger eu bron,
'R wyf finau yn cynyg gwneyd caniad o glod
I hen Afon Morlais, pur amlwg ei nhôd.

Ei blaendarddiad cyntaf a ffrydia'n ddifrêg
O ddwfr arianaidd o Gors y Brynteg,
Gerllaw i Bethania, plwyf enwog Llanon,
Mae cynyrch yr afon rinweddol dda hon.

Hi reda oddiyno yn brysur i'w thaith,
Yn Melin y Gilfach gwna lawer o waith;
Hi ŷra y felin heb drafferth yn bod,
Trwy rymus weithrediad ar gefn y rhôd.

Oddiyno i Felin Wil Daniel hi â,
Ac wrth ddiflin deithio cynyddu a wna,
Ac yno mae Morlais o helaeth lesâd,
I falu ŷd rheidiol i bobl y wlad.

Hi reda yn mhellach yn gyflym a chwyrn,
A'i sŵn fydd yn eglur wrth Bendericyrn;
O dan hen Bont Morlais hi frysia yn mla'n,
A'i ffrydiau ddefnyddir gan fawrion a mân.

Trwy Gwm Gelliwernen, a Chwm Goitrewen,
A'r goedwig uchelfrig yn hardd uwch ei phen,
O dan Bont Sion Rhydderch mi 'i gwelaf yn awr,
Yn rhedeg y gwaered yn heinyf i lawr.

Hi rêd trwy Lanhiraeth, a thrwy Wern y Cwm,
Wrth Felin y Droserch mae'n afon go drwm;
Mae'n gŷru y Felin yn nerthol o hyd,
A mâl i'r ardaloedd gyflawnder o ŷd.

Hi rêd drwy Langenech—gwna yno'r un peth,
Hi weithia y Felin bob dydd yn ddifeth,
Maluria'r ŷd maethlon i'r werin o'r bron,
Yr haf fel y gauaf—pwy afon fel hon?

Yn mhellach â'n rymus, â'i swniad yn gras
Wrth bont hardd sydd arni ger Gwaelodyma's;
Hi rêd oddiyno yn araf a llaith,
Yn foddus ddolenau ar derfyn ei thaith.

Trwy Forfa Llangenech, hi syfla'n ddible,
Mewn mànau i'r dwyrain, gorllewin, a de';
Wrth orphen ei gyrfa hi arllwys yn iach
A helaeth i Lwchwr gerllaw Perthywrach.

Mae amryw rinweddau perthynol i hon
A wna y trigolion yn ddedwydd a llon;
Mae ynddi ddigonedd o ddwfr i'w gael,
Bob tymor o'r flwyddyn mae'n hynod o hael.

Pan sycho'r holl nentydd yn mhoethder yr haf,
Bydd Morlais bryd hyny â'i ffrydiau yn braf;
O'i tharddiad i'w therfyn i ganoedd y rhydd
I ddyn ac anifail o'i ffrydiau bob dydd.

Mae amryw deuluoedd yn gyfain o'r bron
Yn cael eu bywioliaeth yn hollol ar hon;
Melinwyr yn benaf, pysgotwyr mewn rhan,
Mae'n llesiol i'r bonedd yr unwedd â'r gwan.

Pa le mae fath afon â Morlais i'w chael?
O bysgod dewisol, nid gweinion a gwael,
Bob dydd y bydd dala rhai praffus a glân,
A'r nos yn dra mynych wrth ffaglau o dân.

Ei dwfr sydd iachus, a blasus yn wir,
Nid oes ei ragorach mewn afon drwy'r Sir,
Mae hyn yn brofedig ac amlwg i ni,
Trwy'r lluaws o bysgod a geir ynddi hi.

Yn amser gwlawogydd hi chwydda'n dra mawr,
Hi rêd dros geulanau'r gwastadedd i lawr,

Pryd hyn daw budreddi'r holl ardal i'w chwrdd,
Ond Morlais yn rymus a'u cluda hwynt ffwrdd.

Wyf dra adnabyddus â'r afon wech hon,
Gerllaw iddi trigais rai blwyddau o'r bron,
Hoffaswn fod yno o hyd yn parhau,
Pe buasai Rhagluniaeth i mi'n caniatâu.

Terfynu wnaf bellach, rhag bod yn rhy hir,
Nis gallaf ddarlunio gwerth Morlais yn wir;
Llanon a Llangenech, Llanelli rhowch glod
I Afon lân Morlais tra fyddoch mewn bod.

NATHAN BACH.

---

## CANMOLIAETH I MR. WATNEY,

### PONTYBEREM,

*Am ei ymdrech yn dwyn y Gwaith yn mlaen yn wyneb yr anffawd a ddygwyddoad i'w Weithwyr.*

TON—"MERCH MEGEN."

GAN MR. WILLIAM THOMAS, CAERFYRDDIN,
(*Gwilym Mai.*)

O DESTUN hyfrydol i ddenu'r myfyrdod,
  Pa destun hyfrydach i feirddion ein gwlad,
Sef talu y deyrnged o serch i deilyngdod,
  A chadw'r haelionus mewn bythol goffâd;
A phwy sydd deilyngach o blethiad yr anthem,
  Mwy haeddawl o foliant, dyrchafiad, a chlod
Nâ WATNEY wladgarol o Waith Pontyberem,
  Ni fu ei gymhwysach yn destun erio'd.
Flynyddau aeth heibio y daeth ar anturiaeth,
  I gychwyn Haiarnwaith fu'n aros yn hir,
A phwy ddichon draethu mawr les y gym'dogaeth,
  A'r fendith i'r dalaeth o'i ddyfod i'n tir?

Cyflogodd ugeiniau o weithwyr yn fuan.
  Ac ymdrech fel gwron egniol a wnaeth,
A'i goffrau cyforiog o aur ac o arian
  Arllwysai'n ddirwgnach yn dâl am eu gwaith.

Dilynid ei ymdrech â llwyddiant rhyfeddol,
  A gwenau rhagluniaeth i'w wel'd ar y gwaith,
A chaed Pontyberem mewn gwedd adnewyddol,
  'Nol bod yn ddifywyd am amser tra maith;
Daeth plwyf Llangendeirne fel i gyd-lawenychu,
  A mawr orfoleddai trigolion Llanon,
Gwnaeth WATNEY eu codi o ddyfnder trueni,
  Pob gwyneb yn gwenu—pob llygad yn llon.
Ond blin oedd y ddamwain, a mawr oedd y galar,
  Ryw ddydd yn ddisymwth pan dôrodd y dwr,
Gan gladdu niferi yn nghrombil y ddaear,
  Gwnaed plant yn amddifaid, a'r wraig heb un gwr;
Nid allai'r medrusaf ddarlunio teimladau,
  A darllen calonau oedd orchwyl ry fawr,
Y gwragedd yn wylo, a'r plant â'u hoch'neidiau,
  Yn toddi'r caletaf hyd wyneb y llawr.

Ond pwy yn fwy parod i estyn cynorthwy,
  Pa galon mor wresog i wrando eu hiaith?
'Doedd neb yn yr ardal i'w gael mor deimladwy
  A WATNEY drugarog, perchenog y Gwaith;
Anfonodd o'i letty bob math o gysuron,
  Agorodd ei galon i weini llesâd,
A chasglodd ugeiniau o bunnau'n anrhegion,
  Bu'n gyfaill i'r gweddwon, i'r plant bu yn dad;
Mae'r cof am ei haeledd yn awr wedi'i gerfio
  Ar fynwes y plentyn a chalon y wraig,
A byth nid â'i deimlad caredig yn ango'
  Tra byddo'r gair "Diolch" yn henair Cymraeg.
Dymunant fendithion fel gwlith y boreuddydd
  Yn wastad i'w ganlyn hyd derfyn ei daith;
Mawr lwyddiant i'w deulu a phawb o'i garenydd,
  Gan erfyn bob amser am gynnydd y gwaith.

DYDDGEN.

## CAN O GLOD I LO PONTYBEREM.

*Gan yr un Awdwr—ar yr un Mesur.*

"Hen Gymru fynyddig," gan rai fe'th iselir,
  Mae'th dlodi yn *drosedd* yn ngolwg y rhai'n,
Ond etto gan filoedd o'th feibion y'th folir,
  Dy ddolydd ynt hyfryd, a'th fânau ynt gain;
Mor anwyl yw cloddio y "wlad anweledig,"
  A threiddio i'th gelloedd yn nghrombil y ddae'r,
A dwyn o'th wythenau "drysorau cuddiedig,"
  Dy fŵnau o haiarn, o arian, ac aur;
Dy gudd-ystafelloedd balmantir â marmor,
  Y meini rhagoraf a welwyd mewn bro,
A phwy ni'th fawrygant o herwydd y trysor
  A geir yn dy fynwes, sef gwythen y Glo?

Gall Mynwy* ymffrostio am darddiant y wythen,
  Morganwg falchïo am brofi ei nerth,
Ond glenydd y Gwendraeth, ar fin Pontyberem,
  A ŵyr i berffeithrwydd ei llesiant a'i gwerth;
Y glo a geir yma sydd loyw a grymus,
  Yn ddysglaer fel marmor, ei rym sydd yn fawr,
Mae'n rhoddi goleuni a gwres yn gysurus,
  Ac nid yw'n afiachus, frwmstanaidd ei sawr;
Mae'n rhydd o afaelion pob sorod a sothach,
  Yn tôri fel gwydryn, heb lwchyn di-les,
Dim mŵg nac anmhuredd ni ddaw i'w gyfeillach,
  P'le gwelir ei burach, ragorach mewn gwres?

Ei fri a'i gymeriad sydd fawr yn yr ardal,
  A'i enw yn uchel drwy wledydd y byd,

* Dywedir y rheda y linell hon yn ddeheuol o Bontypwl, trwy Flaenafon, Clydach, Nantyglo, Cwm Rymni, Merthyr a Dowlais, Mynydd Mawr, a Llandybie, i Bontyberem, yn nyffryn Gwendraeth.

Y siroedd o gwmpas a'i ceisiant yn ddyfal,
  Am lo Pontyberem y chwiliant i gyd;
Coffheir ei rinweddau yn llongau y llynges,
  Gwyr mawrion a draethant ei rym a'i barhad,
A cha'dd ei ddefnyddio trwy gais y Frenines
  Pan wnaed *Adolygiad** mawreddog y wlad.
Danfonir am dano o'r gwledydd pellenig,
  A chaiff ei drosglwyddo tu arall i'r dwr,
Yn Ffrainc ac Awstralia, ac yn yr Amerig,
  Caiff Glo Pontyberem gymeriad pob gwr.

Pwy, pwy na ddymuna hir einioes a chysur
  I WATNEY'r perchenog, a'i deulu i gyd?
A phwy na erfyniai am iechyd y gweithwyr,
  Eu cynydd a'u llwyddiant tra b'ont yn y byd?
Parhaed y ffwrnesi i losgi'n eu purdeb,
  Yr haiarn gynyddo'n fwy clodfawr o hyd;
Eanged y Gweithiau, a bydded ffyddlondeb
  Yn asio y meistr a'r gweithwyr ynghyd;
Darfydded y rhyfel a'r gwaedwyllt gigyddio,
  Boed heddwch cyffredin mewn bryn ac mewn bro,
Ein gwlad a fo'n dyfod i harddwych flodeuo,
  A chynydd gwastadol i Fasnach y Glo.

ABEDNEGO.

---

## CODIAD YR HAUL AR Y BURRY.

GAN MR. GRIFFITH JONES, LLANELLI.

AR foreu hyfrydol yn Ebrill,
  Cyfodais ar doriad y wawr,
I weled prif addurn y nefoedd
  Yn myned i redeg fel cawr;

* Pan adolygid y Llynges yn Spithead ar y 23ain o Ebrill, 1856, gorchymyn y Llywodraeth ydoedd, na losgid dim ond Glo Cymreig, neu lo caled, yn mhob un o'r llongau ar y pryd.

Y ddaear oedd ddystaw fel beddrod,
  A'r gwynt oedd yn nghlwm yn ei gell,
Ond awel fwyn chwythai yn wanaidd,
  Gan ddwyn peraroglau o bell.

Cymerais fy safle ar Bigyn,*
  Lle gallwn ei weled yn glir,
Yn esgyn uwch bryniau Morganwg,
  Gylchynant mewn pellder ein tir;
Hen afon y Burry edrychai
  Fel palmant o wydr o'r bron,
A'i gwyneb heb ŵg iddei weled
  Na malais i gyffro'r un dòn.

'R ol hyny edrychais i'r dwyrain,
  A'i wybr ddywedai, Mae'n d'od;
Fath liwiau mwy gwych ni chanfyddwyd,
  Na phaentwaith ni wnaeth neb erio'd.
Pryd hyn 'roedd yr adar yn dawel,
  Ond ambell i drydar bach gwan,
Yn debyg fel pe baent am dd'wedyd,
  Fod cydgerdd i fod yn y fan.

Ar hyn dyma'r huan dysgleirwych
  Yn dringo fel pellen o dân,
Gan ddywedyd, Myfi yw'r concwerwr,
  Pa beth yw y nos o fy mla'n;
Y lleuad, pa le mae'th oleuni,
  A'r sêr, pa le'r ydych yn awr?
Myfi a deyrnasaf mewn gwychder,
  Gan loni trigolion y llawr.

Y Burry dderbynioi'i belydron
  Yn fwynaidd, ynghyd â phob bryn,
Os ydoedd hi'n hardd cyn ei godiad,
  Yr ydoedd fil harddach bryd hyn;
Preswylwyr y dyfnder wnai loni,
  Ymsaethent i fynu o'r dŵr,
I dderbyn tês bywiol yr huan,
  A thôri'r dystawrwydd â'u 'stŵr.

* Bryn bychan yn agos i'r Burry.

Y llysiau gyfent eu penau,
  Yr adar wnaent gathlu heb raid,
A'r gwartheg a'r defaid lonynent,
  A phrancio wnai'r ŵyn yn ddi-baid,
Y gwenyn a chwyrnent i'r blodau,
  'R uchedydd oedd uchel i'r lan,
A'r blodau wnaent ddangos eu lliwiau,
  A natur dd'ai'n hardd yn y fan.

Simneiau tàl-sythion a ffrwydrent
  Golofnau mawreddog o fŵg,
A'r bryniau cyfagos wnai ddangos
  Yn siriol, heb arwydd o ŵg;
Y meusydd prydferthion eu hochrau
  A daflent gyfarchiad i'r dòn,
A hithau yn wylaidd wnai gyffro,
  Er dangos mai iach oedd ei bron.

Ar Burry yr hwylia rhai llongau,
  Ac ereill wrth angor y maent;
Rhyw luoedd cyn hŷn ae'nt yn ddrylliau
  Eu nifer nis gwyddom pa faint;
Pan ferwai ei bòl fel rhyw grochan,
  Nes saethu ei dyfradd i'r nen,
A hyrddiwyd rhyw lu o blant gwragedd
  I'r byd sydd tu arall i'r llen.

Ond heddyw mor siriol 'r edrycha,
  Nes peri rhyw chwant ynof fod
Yn hwylio ei gwyneb mewn gwib-daith
  A gosod yn Ninbych* fy nhroed,
Neu hwylio mewn bâd hyd Llanrhydian,
  Er yfed 'r awelon sy'n rhoi
Gwych iechyd i'r sawl gyfranogo,
  Nes gyru'r gofidiau i ffoi.

O huan! mor wych yw dy wyneb,
  Y ddaear wnai'n deg ger dy fron,
Rho'i fywyd i filoedd o bethau,
  Ac iechyd i lawer claf fron.

+ Tenby

Mewn iaith pwy athronydd a draetha
  Dy werth i drigolion y llawr?
Addoli'th Wneuthurwr a wnelom,
  Am roddi in' fendith mor fawr.

**Ossian.**

---

## CAN GENEDLAETHOL FFRAINC.

*"Partant pour la Syrie."*

CYFIEITHIAD.

GAN MR. DAVID BOWEN, LLANELLI.

Hardd Dunois, marchog ieuanc doeth,
  I Syria allan aeth,
Ond cyn wynebu'r frwydr boeth,
  Mewn gweddi gostwng wnaeth:
"O Forwyn Fam, rho i mi'r clod
  (Gweddiai'r Gwron cun)
Y marchog dewraf i gael bod,
  A charu'r decaf fun."

Gan olrhain ar yr allor goeth
  Ei lŵ milwraidd hŷf,
Unigol aeth i'r brwydrau poeth,
  I drechu'r Moslem cryf;
A phan, mewn ymdrech am y clod,
  Ysgydwai'i gledd llym fin,
"Boed i mi (medd) y dewraf fod,
  A charu'r decaf fun."

"O ymladd, ymladd, Farchog cu,"
  Ymfloeddiai'r Llyw mewn serch,
"Os try y frwydr hon o'n tu,
  Dy wraig a fydd fy merch;
Fy Isabel, un deg ddi-goll,
  Ac fel dy gledd yn gun,*
Cai fod y marchog dewraf oll,
  A hi y decaf fun."

* Noble.

Y

Wrth allor hardd y forwyn bur
  Gostyngent hwy yn llon,
Y tad fendithiai'u cariad gwir,
  Ei rin wresogai'u bron.
Marchogion, boneddesau gwiw,
  Ganmolai'r undeb cun,
Gan ddweyd, "Y marchog dewraf yw,
  A hi y decaf fun."

FFRANCWR.

---

## CLADDEDIGAETH SYR JOHN MOORE.

### CYFIEITHIAD.

GAN MR. GEORGE MORRIS, TREFFYNON.

NI chlywyd sŵn tabwrdd nac arwyl y loes,
  Tra ei gorff i'r amgaerau ddygasom;
Ergyd ym'dawol un milwr ni roes
  Uwch y bedd lle ein Harwr gladdasom.

Claddasom e'n dywyll yn nhrymder y nos,
  A'r llawr â'n bidogau wnaem godi:
Y lloer ei phelydrau anamlwg a roes,
  A'r llusern oedd wanaidd yn llosgi.

Arch ddianghenrhaid ni roed iddo yr un,
  Ac nis rhwymwyd mewn cynfas nac amdo;
Gorweddai fel milwr yn cym'ryd ei hûn,
  A'i fantell filwraidd am dano.

Anaml a byr fu'n gweddiau wrth ei fedd,
  Ac ni yngasom air am ofidiau,
Ond syllu a wnaethom yn syn ar ei wedd,
  Gan feddwl yn chwerw am y borau.

Meddyliem wrth gloddio ei gûl wely caeth,
  A llyfnhau ei unigol obenydd,
Mai'r gelyn a'r estron a'i sangai heb aeth,
  A ninau yn mhell ar y tònydd.

Chwedleuant yn ysgafn am ysbryd y dyn,
  Ac uwch ei oer lwch gwnant ei wawdio,
Ni phrisia ef ddim os cysgu ga ei hûn
  Yn y bedd rhoes y Brython ef ynddo.

I'r pen y daeth haner y dasg oedd yn fawr,
  Pan y cloc roddodd rybudd encilio;
Deallwyd wrth sŵn y pell fagnel yn awr
  Fod y gelyn yn llidiog yn tanio.

Yn araf a thrwm y dodasom ef lawr
  Yn îr* waedlyd o faes ei ogonedd,
Heb gerfio un linell na chodi un maen,
  Ond ei adael ef yn ei anrhydedd.

GWRON.

* Fresh

---

# Y FEIRNIADAETH.

## Y CYFANSODDIADAU BARDDONOL.

### AWDL AR Y SABBATH.

Ar y testun goruchel a chysegredig hwn ni dderbyniwyd ond dwy Awdl, dan yr arwydd-enwau *Cristion*, a *Iolo Morganwg*.

*Cristion.*—Cynwysa yr Awdl hon 488 o linellau, ac yn eu mysg ambell i linell dlos, a syniad prydferth; ond ar y cyfan, y mae yn gyfansoddiad gwallus ac israddol, o ran iaith a chynghanedd, a chymysglyd o ran trefn a chynlluniad. Mae'r awdwr fel yn ddifrifol ac awyddus i wneyd daioni—yn teimlo pwysigrwydd crefyddol ei destun, ac felly yn dwyn yr un pethau i'n sylw fwy nag unwaith, rhag i ni eu hanghofio; ychydig o feddylgarwch ac eglurdeb sydd yma. Cymysgir Sabbath yr Hen Destament a dydd yr Arglwydd â'u gilydd. Tybir fod cadw un dydd o saith yn rhan o'r ddeddf foesol, ond os felly, bydd cadw un dydd o saith yn y nefoedd, oblegid nid peth perthynol i'r byd darfodedig hwn yn unig yw moesoldeb. Dylasai'r ymgeiswyr ar y testun hwn ddeall fod Mab y dyn yn Arglwydd ar y Sabbath hefyd, ac mai gosodiad pen-arglwyddiaethol ydyw y dydd, yn seiliedig ar y gweithredoedd a wnaed arno.

*Iolo Morganwg.*—Mae hon yn Awdl hirfaith, agos yn 800 o linellau; nid yw hon ychwaith o ran ei chynllun y peth a ddysgwyliem i Awdl ar y Sabbath fod. Gallasem ddysgwyl syniadau arddunol a dyrchafedig ar orphwysiad Jehofa ar y seithfed dydd, pan yn sefydlu y Sabbath cyntefig, ar ol gorphen gwaith y cread, pryd y santeiddiwyd gorphwysfa i ddyn ac anifail, drwy siampl a bendith y Creawdwr. Hefyd, gallasem ddysgwyl syniadau goruchel a barddonol ar weithredoedd y dydd cyntaf o'r wythnos, megys adgyfodiad y Messia, fel y Cyntaf-anedig o'r meirw, a Gorchfygwr angeu a bedd, a'i fynediad i orphwyso oddiwrth ei

weithredoedd ei hun, megys ag y gwnaeth Duw oddiwrth yr eiddo yntau—gweithredoedd rhyfeddol dydd y Pentecost, pan gysegrwyd yr Eglwys fel teml y Duwdod gan yr Ysbryd Glân—golygfeydd gogoneddus dydd yr Arglwydd yn ynys Patmos, pan orphenwyd y Datguddiad Dwyfol, &c., gan seilio santeiddrwydd a gogoniant y dydd ar Arglwyddiaeth y Messia, yn llaw yr Hwn mae pob awdurdod yn y nefoedd ac ar y ddaear. Ond cymerodd yr awdwr awenyddol olwg ymarferol ar y Sabbath yn ei gysylltiad â dyn ar y ddaear; ac yn y golygiad hwn mae ei Awdl yn dlos a barddonol, er y carasem iddo fyned tros y tir a nodasom, gan ei fod mor doreithiog o gynyrchion uchelryw a dwyfol, er mwyn dangos gogoniant ac awdurdod y dydd santaidd; etto, ni fynasem er dim iddo esgeuluso y llwybr a gymerodd. Mae yn agor ei Awdl gyda darluniad o foreu dydd Duw: pawb yn gorphwys oddiwrth eu caledwaith, a natur fel pe byddai wedi rhoddi ei santeiddwisg am dani, ac hyd y nod cân yr adar bach "boreu heddyw'n bereiddiach." Mae boreu'r Sabbath yn y bwthyn, y gwasanaeth yn yr Eglwys, yr addoliad yn y Capel, yr Ysgol Sabbathawl, gwerth y Sabbath i'r gweithiwr daear, &c., yn cael eu darlunio gyda grym a thynerwch effeithiol dros ben; nis gwyddom am un Awdl yn yr iaith yn rhagori mewn ystwythdra a phrydferthwch. Mae'r fydryddiaeth yn ddifai gydag ychydig bach o eithriadau dibwys, a'r cwbl mor naturiol a swyngar, fel na chawsom ond mwyniant digymysg wrth ei darllen. Tuedda yn fawr i ddangos gwerth a gogoniant y Sabbath, fel dydd santaidd i'r Arglwydd, i bwy bynag a'i darlleno. Yr ydym yn ddibetrusder yn dyfarnu *Iolo Morganwg* yn haeddiannol o'r Wobr ar Tlws.

PRYDDEST AR ELIAS AR BEN CARMEL.

Testun pwysig, llawn o farddoniaeth santaidd yw hwn; yr amcan yw tôri y ddadl rhwng y gwir Dduw a'r eilunod. Derbyniwyd deg o Bryddestau. Gan fod dosparth o'n llenorion yn arganmol y dull digynghanedd o farddoni, ac yn siarad am y cynghaneddion Cymreig fel hualau gorthrymus, gallasem ddysgwyl i'r Pryddestau dra-rhagori yn gyfatebol i'r manteision tybiedig sydd ganddynt. Dylent fod yn uchel a choethedig o ran syniadau, yn bur a difwlch o ran iaith, ac yn naturiol ac ystwyth o ran cyfan-

soddiad. Dylai'r fydryddiaeth fod yn llithrig, y corfanau yn rhywiog, y symudiadau o'r naill gyhydedd i'r llall yn esmwyth a rhwydd, a'r odlau yn gywir a pheroriaethus. Yn lle y pethau yna, cawsom yn rhai o'r Pryddestau bob math o glogyrnwch ac anystwythdra a thwyll-odlau, fel nas gellir cael eglurach darnodiad arnynt nâ rhyddiaith wallgof.

*Terah.*—Rhagymadrodd maith, yn cynwys olrheiniad manwl i ddechreuad eilun-addoliaeth, ac arferion y cynfyd. Tybiem wrth fyned yn mlaen y cawsem ysglyfaeth lawer; ond siomwyd ni yn ol cyrhaeddyd pen Carmel, canys diweddodd yn swta, heb draethu nemawr ar y prif bwnc. Lled feius yw ei sillebiaeth, ac y mae ei frawddegau weithiau yn gymysglyd a thywyll.

*Mab Adda.*—Mae hwn yn disgyn ar ben Carmel mor ddisymwth â brân, heb un rhagymadrodd na rhybydd—islaw y ganolradd.

*Obadiah.*—Dechreua, "Tra'n troi ar ei hechel," &c. Cymysga ei Bryddest â math o ddynwared englynion, heb nemawr o synwyr nac un esgus o gynghanedd ynddynt.

*Obadiah.*—Yn dechreu, "Yn nyddiau Ahab," &c. Canolig yw hwn etto; dim ond rhynynu yr hanes yn ddiaddurn ac anfarddonol.

*Obadiah.*—Dechreua "Elias y Thesbiad," &c. Rhigwm fel y lleill; mae y tri Obadiah islaw canoligrwydd.

*Un o hâd Abraham.*—Cruglwyth o Bryddest fawr a diawen.

*Eliseus ei law a'i swydd.*—Mae y darluniad o Ahab yn ofni ac yn crynu wrth gwrdd ag Elias yn anmhriodol a disail; mae y dyb fod coppa noeth Carmel, lle y cyfarfyddid, "Yn ngwyneb haul a llygad goleuni," yn fath o wastadedd yn mysg coed almonau, ffigys, gwinwydd, &c., yn gamsyniol a di-wasanaeth i'r Bryddest. Cymysglyd a diawen yw hwn etto. Nid yw y pryddion yn cyffwrdd â dyben mawr cymanfa Carmel; ond y mae mawlgerdd y lluaws ar fuddugoliaeth Elias yn fywiog a tharawiadol gan y pryddestwr hwn.

*Eta Iota.*—Nid yw hwn etto yn gweled dyben y gymanfa; dirym a chyffredin yw ei awen. Dilyna ei bwnc yn well nag amryw o'i gyd-ymgeiswyr, ond y mae ei gorfanau yn fynych yn gloffion.

*Anarawd.*—Sonia am "wawrio canolddydd." Y boreu sydd yn gwawrio, Ymddengys na thòrodd y wawr i Anarawd ar ei

bwnc, er ymbil ar yr awen a daniai fynwes Homer i ddarlunio brwydr Caerdroia. Dichon i'r Awen gymeryd awgrym oddiwrth Baal ar ben Carmel, a gwrthod gwrando ar ei lais. Mae yn rhybyddio Ahab i ffoi rhag y gwlaw, "os mỳnai gadw'n sych ei grys."

*Gwenllian.*—Pryddest dda ar y cyfan yw hon; mae yn lled rydd oddiwrth wallau llenyddol, yn dilyn y testun a'r hanes yn gywir, ac i raddau yn farddonol; ac er nas gellir dywedyd iddi hysbyddu y testun, etto mae yn rhagorach nâ'r un o'r lleill, a theilynga y Wobr.

### MARWNAD Y PARCH. JOHN BOWEN, LLANELLI.

Pedwar cyfansoddiad:—1af. *Un ar ei daith.* Cân lled gryno a digoll o ran iaith a mesur; amrywia y mesurau. Mae y penill sydd yn dechreu llinell 60 yn gymysglyd.

2ail. *Cymro galarus.* Cymysglyd a dibwynt; mae yn ebychu galar-gwyn yn lle darlunio gwerth a nodwedd y gwrthrych.

3edd. *Epenetus.* Dyrif fechan gyffredin iawn o ran pwynt, talent, a chyfansoddiad.

4edd. *Archolledig.* Ymddengys fod y cyfansoddiad hwn yn ddarlun cywir o nodwedd a theithi Mr. Bowen, ac mewn ystyr lenyddol rhagora ar y lleill. Efe yw y goreu, ac iddo ef y dyfernir y Wobr.

### MARWNAD Y PARCH. JAMES SPENCER, LLANELLI.

Pedair Marwnad:—1af. *Urbanus.* Cyfansoddiad lled dda ar y cyfan; mae yn synwyrol a disothach yn ei syniadau, iaith a mydryddiaeth lled ddiwall. Mae y darlun o deithi yr ymadawedig yn gywir, ond ei fod yn hytrach yn gyffredinol, heb nemawr o fanylion hanesyddol perthynol iddo.

2il. *Athrist.* Cân fach gyffredin o barth awen, iaith, cyflawnder, a chrebwyll.

3edd. *Teimladwy.* Cân o syniadau tlysion; ond mwy o ddychymygion prydferth am fynediad Spencer i ogoniant nag o ddyfaliad o'i nodwedd pan yn y byd hwn. Mydryddiaeth anystwyth ar brydiau.

4edd. *Llewelyn Sion o Langewydd.* Cân ragorol yw hon: cyn-

wysa ddarluniad manylach o deithi a damweiniau bywyd y Parch James Spencer nâ'r lleill, ac felly rhagora arnynt. Gwelir rhai gwallau yn hon hefyd, megys, "Yr oen croeshoeliedig." Pa le a pha bryd y clywyd son am groeshoelio ŵyn? Sonir am aberthu ŵyn. Er hyny, *Llewelyn* yw y goreu, a theilynga y Wobr.

MARWNAD Y PARCH. DAVID BOWEN, LLANELLI.

Pedair Pryddest:—1af. *Glan Mersey.* Mae yr awdwr hwn yn son am Mr. Bowen fel Gweinidog Penyfai, pan mewn gwirionedd mai Penyfai oedd enw ei drigfod, a Llanelli oedd maes ei weinidogaeth. Ychydig o gydnabyddiaeth â'r gwrthrych hybarch sydd yn y gân hon.

2il. *Galarwr galarus.* Pryddest ganolig, lled drymaidd ac aneglur yw dawn yr awdwr.

3edd. *Pererin.* Mae y Bryddest hon yn dra darluniadol o nodwedd a llafur y Parch. D. Bowen, lled wallus yn gyffredin y yr odlau. Dylai pryddestwyr ofalu mwy am hyny, oblegid nid yw eu bod yn troi y gynghanedd heibio yn ddigon o reswm dros ymwrthod â phob rheol a gwiwseiniad.

4edd. *Heledd.* Pryddest goethedig a darluniadol o'r gwrthrych yw hon; mae y cyfansoddiad yn dlysach, a'r syniadau yn fwy barddonol nâ'r eiddo *Pererin*, gan hyny i *Heledd* y dyfernir y Wobr.

YMADAWIAD W. CHAMBERS, YSW. O LANELLI.

Pedwar cyfansoddiad:—1af. *Hiraethus.* Cân ganolig. Nis gall hòni cywirdeb, cywreinrwydd, na phriodoldeb neillduol.

2il. *Brodor.* Prydydd hynod, yn amcanu am fod yn ddoniol.

3edd a 4edd. *Gwladgarwr*, ac *Ewyllysiwr da i Mr. Chambers.* Dau gyfansoddiad da, cystal ag a allesid ddysgwyl ar destun llëol fal hwn, er mor deilwng y boneddwr y cwynir ar ei ol. Mae *Gwladgarwr* yn fwy clasurol a diwall fel cyfansoddwr, o barth iaith a mydryddiaeth; ond y mae'r *Ewyllysiwr da* yn crybwyll pethau o bwys yn nheithi Mr. Chambers nad ydynt gan y llall, megys elusengarwch ei foneddiges, y baddonau a wnaeth, ei gymhwysder a'i barodrwydd i fod yn gadeirydd mewn gwahanol

gyfarfodydd, &c. ; ac er nad yw hwn yn gyfansoddiad mor ddillyn â'i gyd-ymgeisydd, etto, ag ystyried pob pwyll, methodd y beirniaid a chanfod un llwybr cyfiawnach nâ rhanu y Wobr rhyngddynt.

### DYFODIAD Y REILFFYRDD I GYMRU.

Wyth cyfansoddiad:—*Peirianydd.* Canolig yw hwn, a gwallus o ran sillafiad, &c.

2il. *Ysbryd yr oes.* Rhagorol fel llaw-ysgrifenydd, ond cyffredin fel bardd.

3edd. *Hoffwr Rheilffyrdd.* Lled debyg. Ysgrifenydd da--dim barddoniaeth.

4edd. *Peirianydd.* Etto. Canolig, fel ei frawd-beirianydd o'r blaen.

5ed. *Ifor Hael.* Cyffredin. Rhai gwallau sillebiaeth.

6ed. *Bardus ab Gomer.* Gellid meddwl, wrth ei law-ysgrifen, ei fod yn oedranus. Reilffyrdd yn gyffredin yw ei bwnc, ac nid eu dyfodiad i Gymru, a chyfynga olygfeydd ei gân i Reilffordd Caer a Chaergybi yn y Gogledd.

7ed. *Cymro.* Cân sychlyd ar Lân Meddwdod Mwyn yw hon.

8ed. *Saer y gerdd o Sir Gaer.* Cyfansoddiad rhagorol yw y gân hon ; mae yn tra-ragori ar y lleill oll, mewn awen a chrebwyll, yn ogystal â chyfaddasrwydd i'r testun; i'r *Saer*, gan hyny, dyfernir y Wobr.

### CAN I GWMNI GLO LLANGENECH.

Un cyfansoddiad, dan y ffug-enw *Gwladgarwr.* Cân rwydd a naturiol, o ran iaith a mydryddiaeth, heb eithafion diansawdd. Teilynga y Wobr.

### AFON MORLAIS.

Pedair cân, dan y llysenwau canlynol :--1af. *Gweni Fach.* Yr ydym yn canmol Gweni am wneyd ei goreu, ond nid oes ganddi obaith am ennill.

2il. *Anwybodus ei ddeall.* Anghelfydd a diawen, heb iaith na dychymyg ; nis gellir gwneyd bardd na phrydydd o hono.

3edd. *Aillt.* Heb sillgolli; ond y mae yma golliadau ereill sef amcanu at wagorchest, a thrwy hyny myned yn anystwyth, difywyd, a diansawdd.

4edd. *Nathan bach.* Sillwr gwallus yw Nathan "Afon go drwm"—afon drom ddylasai fod, gwrryw yw trwm. Mae asbri difyrwch cân boblogaidd yn awen Nathan. Efe yw y goreu o ddigon; ac er nas haeddai ganmoliaeth uchel, dichon fod ei gân mor enwog â'r afon y cenir iddi, am hyny rhodder y Wobr iddo.

CLOD I D. AC A. WATNEY, YSWD.

Cymraeg, dwy gân:—*Brythonfab.* Cân led gyffredin a diawen.

2il. *Dyddgen.* Cyfansoddiad lled dda, cryno, a dirodres—teilwng o'r Wobr.

Saesoneg:—1st. *Gamma.* A translation of *Brythonfab*, below the standard of mediocrity.

2nd. *Dewi Ddu*—Ditto.

3rd. *Non.* A fair composition—far superior to Gamma and Dewi Ddu in poetic merits, to him we award the Prize.

ENGLYNION I IFORIAETH.

Pump cyfansoddiad:—1af. *Caswallon.* Gwallus o ran celfyddyd a barddoniaeth, y meddyliau yn weddol dda.

2il. *Cadifor Fawr.* Canolig.

3edd. *Gwyliedydd.* Cyfansoddiad lled dda o ran meddyliau, ond beius o ran celfyddyd a mydryddiaeth. Arferodd 'cymraw,' *consternation, terror*, am Cymro. Cyn a braw yw elfenau cymraw—braw oddiamgylch.

4edd a'r 5ed. *Gwyddon Ganhebon* ac *Un a wyr lle safai eurllys Ifor.* Trodd yr ymdrech rhwng y ddau hyn. Gwedi cryn drafferth, a chymharu y ddau gyfansoddiad, englyn ac englyn, o'r dechreu i'r diwedd, gwelsom mai *Un a wyr lle safai eurllys Ifor* a ennillodd y dorch, gan iddo ennill mwy o godymau nâ'i gydymdrechydd, ar ol iddynt gael deuddeg cynnyg; felly efe a bia y gamp. Gallasem ddysgwyl rhagorach englynion ar y fath destun dyddorawl i Iforiaid ag yw Iforiaeth.

ENGLYNION I'R LLEUAD.

Deunaw cyfansoddiad:—1af. *Bachgen brysiog.* Ymadrodd rhyfedd yw "Gwyll erchyll ei wawr."

2il. *Inigo.* Pa beth yw "dirwyn an—orphenol waith corph anian?" "Llanw a thrai llunia â'i thro." Proest llefarog.

3ed. *Gwdihw.* Tywyll a chymysglyd. Pa beth mae y Gwdihw yn feddwl wrth "Mor wych yw gwedd merch o gol—Un fasai'n forwyn fisol?" Plentynaidd hefyd yw'r "Llun C a'r llun O," er nas gallesid dysgwyl pethau rhagorach gan Gwdihw.

4edd. *Ioan.* "Englynion talcen slip." Dim cynghanedd.

5ed. *Clocsiwr.* Tywyll, heb eglurder na meistrolaeth ar ei waith.

6ed. *Ieuanc.* "Chaosawl." Pa beth yn "chaosawl" sydd yn awyr y nos? Yn nghoryn y bardd y mae'r tryblith. Dibwynt.

7ed. *Bugail.* Dim drychfeddyliau tarawiadol.

"Teyrnasai nos tros y nen." Twyll canolgoll.

8ed. *Tremiedydd nosawl.* Canolig fel cyfansoddiad. Barna fod y lloer yn derbyn gwawl yn ddiarbed o'r haul tu draw i'r heli.

9ed. *Y V.* "Moroedd mawrion heb rifedi." Nid gwir hyn; ni fedd y ddaear hon luaws aneirif o "foroedd mawrion." Dibwynt etto.

10ed. *Anhyddysg.* "Anwadal y gwnaed ei goleuni." Tywyll yw y cyfansoddiad hwn.

11eg. *Luna.* Ymadroddion hynod sydd gan *Luna* am dani, megys "Llinyn arian, torth aur, &c." Onid gwell fuasai ei galw yn gosyn gwyn ar unwaith!

12eg. *Cymro.* Pennillion ar Nos Galan yw englynion hwn.

13eg. *Aderyn y nos.* Ni ŵyr yr *aderyn* hwn nemawr am englynu.

14eg. *Jacob.* Lled ddiwall o ran celfyddyd, ond y syniadau yn gyffredin ac anfarddonol.

15eg. *Cymro* arall. Englynion beius ac afreolaidd.

16eg. *Madawg ap Gwallter.* Dim barddoniaeth leuadawl etto.

17eg. *Hesperus.* Llawer o darawiadau prydferth a grymus. Mae ymsathr odlau yn y trydydd englyn. Nid gwawl y lloer sy'n bugeilio awyr a bro, ond y lloer ei hun. *Hesperus* yw yr ail oreu.

18ed. *Newton.* Mae hwn yn amlach ei ragorion, ac yn llai ei golliadau nâ'r lleill, er nad ydyw yntau yn llwyr ddifrychau. *Newton* bia y gamp.

## CWYMPIAD Y DAIL.

Naw cyfansoddiad :—1af. *C. C. Glöwr.* Iselradd ac anghelfydd.

2il. *Llwydrudd.* Gwasgaredig a chyffredinol. Nid yw cyfammod gweithredoedd gardd Eden yn perthyn i'r pwnc. Pregeth ar anfarwoldeb yw y rhan ddiweddaf; etto, cyfansoddiad lled dda o ran barddoniaeth.

3edd. *Negro.* Mae y syniadau ar enedigaeth y ddeilen yn isel a phlentynaidd. Syniad rhyfedd yw "Y gwynt a'r gogail naturiaeth yn nyddu." Dim llygad i ganfod anian.

4edd. *Caradog.* Nid yw yr awdur yn dirnad ei destun.

5ed. *Twrch daear.* Mae y *Twrch* yn dechreu fel pe byddai yn myned i ganu Carol Mai. Mae yr egin, y blodau, y gwcw, a chwympiad y dail, fel pe byddent yn gydamserol ganddo.

6ed. *Aderyn du.* Tegwch haf yw ei bwnc hyd y 6ed pennill. Priodola gwympiad y *dail* i wenwyn y gwynt gauafaidd. Cynwysa lawer o syniadau prydferth, er nad ymaflodd yn ddyladwy yn ei destun.

7fed. *Planhigyn.* Canig fer ; moes-addysg ar y tymorau, dim yn neillduol ar gwympiad y dail.

8fed. *Guto'r glyn.* Damcaniad ar ansawdd bywyd anianol y llysiau. Pregeth dywyll ar natur, heb lawer o deimlad a bywyd ynddi.

9ed. *Dai Harri bach.* Dechreua gyda y gwanwyn, gwisgoedd y goedwig fel myrdd o dannau i'r gwynt gael chwarae ei fysedd arnynt; effaith y llwydrew ar y dail, &c. Mae ganddo rai darnau o deilyngdod mawr. Dilyna ei destun yn agosach nâ'r lleill, ac y mae yn fwy gafaelgar o ran iaith, awen, a bywyd. *Dai Harri bach* yw y goreu o lawer.

## CAN I WEITHIAU ALCAN DAFEN.

Tair cân :—1af. *Gwladys Fechan.* Cân ddiawen a chanolig o ran iaith a mydryddiaeth.

2il. *Caswallon.* Saith llinell yn lle deg. Nid oes bywyd a thalent Cerdd Ddiri yn hwn mwy nâ'r llall.

3edd. *Llewelyn.* Cân lefn, gynghaneddol, a bywiog; mae yn rhagori yn mhell ar y lleill, a theilynga y Wobr.

### Y TEULU DEDWYDD.

Deuddeg o gyfansoddiadau. Nis gellir dysgwyl i ymgeiswyr dan ugain oed ragori llawer ar destun fel hwn, gan fod sylwgarwch a phrofiad yn hanfodol i'r gwaith. Maent yn gyffredin yn darlunio dedwyddwch mewn cysylltiad â thlodi; gallem feddwl fod dedwyddwch teuluaidd yn seiliedig ar ddiwydrwydd, cynildeb, glanweithdra, ac ysbryd dirwgnach, mewn mwynhad o iechyd a chysur, gan rodio mewn tangnefedd yn ffyrdd a gorchymynion yr Arglwydd. Nis gall teulu fod yn ddedwydd mewn cystudd, anghen, a thlodi; ac y mae'r sawl a gadwant ddeddfau Rhagluniaeth a gras, os na ddaw rhyw groes-wyntoedd i'w lluddias, uchlaw adfyd a thlodi. Carasem weled mwy o egwyddorion dedwyddwch yn y caniadau, gwell darluniadau o hono, a llai o siarad cwmpasog a dibwys yn ei gylch. *Blodeuyn*, *15eg oed*, *Brysioy*, *Brysiog yr Ail*, *Obededom*, *Plentyn Dedwyddwch*, *Un a gâr fyw yn ddedwydd*, *Cymydog*, *Sion ieuanc*, *Moelyn*, a *Creadur*, er fod graddau yn eu plith, ydynt dra phell yn ol. D.S. Dylasai yr ymgeiswyr wahaniaethu rhwng Dedwyddwch a Duwioldeb. Gall teulu fod yn dduwiol yn nghanol adfyd a galar, ond amynedd a goddefgarwch sydd briodol iddynt y pryd hwnw, ac nid deddedwyddwch.

*Brynhyfryd.* Cân brydferth; etto, sôn am ddedwyddwch a'i ganmol sydd yma, yn lle ei osod allan yn ei elfenau a'i fwyniant.

*Dyfnwal Moelmud.* Cân dlos a thyner yw hon, a'r oreu o'r deuddeg; mae ynddi farddoniaeth deuluaidd, a theilynga'r wobr.

### CAN I LO PONTYBEREM.

Pedair cân:—1. *Mab Megen.* Ofnir i Megen esgeuluso dysgu ei Mab, oblegid nis gall sillebu.

2il. *Anwydog.* Fferodd ei awen, mae yn debyg, gan faint ei anwyd.

3edd. *Ymdrechydd.* Mae hwn yn well nâ'r ddau flaenaf.

4edd. *Abednego.* Hwn yw y goreu o lawer, a theilynga y wobri

Ofer nodi'n feirniadol—holl wallau
Ellyllig, camsyniol
Pob rhigwm traphendrwm ffol,
Neu fesur anafusol.——CYNDDELW.

Addien bwnc, trawdd, awen bur—ei llinell
Ddarllena'n dra eglur,
A'i miwsic yn gymhesur—a gorfyw,
Ei thànau ytyw peroriaeth natur.—GWILYM ILID.

### CODIAD YR HAUL AR Y BURRY.

Pedair cân. Cân ddarluniadol o godiad yr haul ar y lle hwn a ddylid gael. Peth anhawdd yw llunio Dyfalgerdd, heb lygad craffus i ganfod anian yn ei hamrywiaeth a'i phrydferthwch, a chalon i deimlo cariad ati, ac athrylith i'w gosod allan yn ei lliwiau priodol ei hunan.

1af. *Syllydd.* Dylasai *Syllydd* gael syll-wydrau i ganfod yr haul yn codi. Canolig iawn.

2il. *Gaius.* Lled ganolig etto. Ymgeisia fwy at gynghanedd nâ synwyr.

3edd. *Plentyn anian.* Dylai *Plentyn anian* weled anian yn fwy eglur, ei theimlo yn fwy grymus, a'i darlunio yn fwy tarawiadol Perthyna y gân yn hytrach i'r afon, nac i godiad yr haul ar yr afon.

4edd. *Ossian.* Mae yr awdwr yn cadw golwg weddol ar ei destun, er nas gallwn ddweyd ei fod yn hynod o'r darluniadol o godiad yr haul ar yr afon Burry; etto, efe yw y goreu ar y testun, mae ganddo fwy o godiad nâ'r lleill—efe bia y wobr.

### CWYMP GOLIATH.

Wyth o Bryddestau. Gan fod yr ymgeiswyr dan 16eg oed, y mae yn syndod eu bod cystal.

1af. *Abner fab Ner.* Sillafwr anghywir yw *Abner,* ond dilyna yr hanes yn fanwl, etto dysgwylir rhywbeth mewn gwaith o'r fath heblaw odli'r hanes.

2il. *Rhy hwyr, tybied?* Nage, rhy fyr i ennill. Pwtyn bach iawn.

3edd. *Dryw glan Gwendraeth.* Cwmpasog yn y dechreu, yna yr hanes, ac yn olaf addysgiadau. Nid yw hwn etto yn rhagori.

4edd. *Un am fod yn Fardd.* Mae cryn waith gan hwn cyn y cyrhaedda ei ddymuniad. Sillebwr gwallus, cyffredin ei syniadau, —dim ond caeth-ddilyn yr hanes.

5ed. *Hogyn hanner gwirion.* Mae yr Hogyn yn siarad llawer am ei destun, ond ychydig iawn o gelfyddyd na barddoniaeth sydd ganddo,

6ed. *Pelldremydd.* Nid yw efe yn gallu tremio i bellafoedd fel bardd. Mae yn gyffredin a dibwynt yn ei syniadau.

7ed. *Plentyn yr awen.* Mae llawer o darawiadau tlysion gan hwn. Mae teimladau byddin Israel a brodyr Dafydd pan oedd Dafydd a'r cawr yn agoshau at eu gilydd yn gyffröus, ond y mae yma lawer o syniadau plentynaidd, megys, "tôri'th ben mawr, dyrnu gwddf melyn mawr" Goliath, &c.

8ed. *Gwron a drig yn Egryn dref.* Rhwng y *Gwron* a *Phlentyn yr Awen* y mae yr ymdrech. Mae y Gwron yn wan ac anmhriodol yn fynych, megys cyhoeddi y fuddugoliaeth cyn ei hennill. Dywed mai dafad ddu oedd yr oen a achubodd Dafydd o safn y llew, &c. Etto, mae mwy o arwydd plentyneiddwch ar waith *Plentyn yr awen* nag ar eiddo y *Gwron*, am hyny i'r olaf y dyfarnwn y Wobr.

### PARTANT POUR LA SYRIE.

Pedwar Cyfieithiad :—1af. *Peter the hermit.* Sych, anystwyth, a thywyll fel cân, a'r cyfieithad yn anghywir.

2il. *Napoleon.* Nid oes gwroniaith a gwresawgrwydd cadfarchog penboeth yn nghyfieithiad hwn ychwaith. Mae y cyfieithiad hwn wedi lladd asbri cenedlaethol y gerdd.

3edd. *Monteir.* Nid yw y bywyd na'r cywirdeb gofynol yn hwn ychwaith.

4edd. *Ffrancwr.* Mae hwn yn ystwythach a chywirach o lawer nâ'r lleill. Mae naturioldeb a llithrigrwydd y cyfieithad yn sicrhau y flaenoriaeth iddo yn rhwydd a diamheuol. Eiddo *Ffrancwr*, gan hyny, yw y Wobr.

### MARWOLAETH SYR JOHN MOORE.

Saith Cyfieithiad. Bu gwobr am gyfieithu y llinellau hyn yn y *Gwladgarwr* tuag ugain mlynedd yn ol, a diddadl i'r ymgeiswyr weled rhai o'r cyfieithiadau hyny. Sylwer hefyd, nid oes un o honynt yn dilyn y llinellau gwreiddiol yn nghywreinrwydd y fydryddiaeth, sef fod pob pennill yn odli yn broestawdl, a'r ail a'r bedwaredd hefyd yn gyfochrawdl.

1af. *Tudur.* Anystwyth a gwallus,

2il. *Cadweinydd.* Mae'r odliad yn ddireol.

3edd. *Abercrombie.* Mae hwn yn fyr o bennill, felly nis gall gystadlu.

4edd *Giraldus.* Mae y fydryddiaeth a'r odlau yn wallus.

5ed. *Cyfaill.* Anystwyth a thywyll etto.

6ed. *Cyfarwy.* Mae hwn yn llyfnach nâ'r un o'r lleill.

7ed. *Gwron.* Hwn yw y cywiraf fel cyfieithiad, a'r goreu hefyd. Caffed y Wobr.

### CYWYDD I UFFERN.

Tri chyfansoddiad :—1af. *Unarbymtheg oed.* Mae yma rai llinellau cryfion a chyffrous ; maent yn glod i Brydydd mor ieuanc ; ond y mae yma lawer o wallau chwaeth a chynghanedd. Mae y Cywydd fel math o bregeth ar gwymp angylion, cwymp dyn, &c. Dywed fod y nefoedd "yn fôr o fèl," os felly, mae yn addasach nefoedd i gacwn nag i ddynion.

2il. *Gwyddno Fychan.* Mae "rhew anwyd yn rhynu" yn ffwrn dân hwn. Nid oes nemawr o deilyngdod yn y Cywydd hwn.

3edd. *Homin-bird.* Canolig iawn etto, ynghyd â llawer o wallau. Ni theilynga un o honynt y Tlws addawedig.

Hyn yn fyr yw ein barn ystyrbwyll a diduedd ar deilyngdod y Cyfansoddiadau a fu dan ein sylw.

Yr eiddoch ar air a chydwybod,

Yn nawdd Duw a'i dangnef,

WILLIAM JONES *(Gwilym Ilid,)*

R. ELLIS *(Cynddelw.)*

Gorphenaf 26, 1856.

O. Y.—Cydfarnai *Iago Emlyn* ar yr Awdl ar y *Sabbath,* a'r Bryddest ar *Elias ar ben Carmel.*

# Gair o Gynghor i'r Ymgeiswyr.

Mae gair ar ein meddwl, wrth derfynu ein gorchwyl, a all fod o les i ymgeiswyr ieuainc, erbyn rhyw ymdrechfa ddyfodol. Wrth ystyried fod cynifer o wallau, o bob rhywogaeth, yn amryw o'r cyfansoddiadau, pethau nad oedd genym arfod i'w nodi ond mewn geiriau cyffredinol, barnwn mai doeth a buddiol fyddai i feirdd ieuainc ddangos eu cynyrchion i ryw athraw barddonol cyn eu hanfon i gystadleuaeth, fel y byddo iddynt farnu a dalant i'w dangos ai peidio, a diwygio y gwallau mewn iaith a synwyr, fel na byddo i'r dysgybl ieuanc gael dolur meddwl wrth glywed ei feiau yn cael eu cyhoeddi yn nghlywedigaeth "gwlad ac arglwydd" gan y beirniaid. Yr oedd gan yr hen Gymry da drefn fel hyn i feithrin a dysgu "gwyr wrth gerdd," fel na ddangosid "cerdd anafus" mewn Eisteddfod; a phe adferid yr hen ddeddfau yn hyn o beth, gwelid purach barddoniaeth, ac arbedid llawer o boen a thrafferth i gerdd-feirniaid eisteddfodawl.

Cynghorem ysgrifenwyr ieuainc i fyfyrio coethder a thlysni iaith ac ymadrodd. Mae y Pryddestwyr, braidd yn ddiwahaniaeth, yn arfer y cylch-ymadroddion mwyaf bongleraidd, fel pe byddent yn astudio anystwythder a thrwsgleiddiwch. Ni ddywedant (er enghraifft) ymostyngodd, os gellir cael gwnaeth ymostwng, neu ymostwng wnaeth, i mewn rhywfodd. Byddai Iolo Morganwg yn cynhyrfu os gwelai rai yn arfer berfau cynorthwyol o hyd yn ddiachos, er cloffni a hwyrdrymder i'r cyfansoddiad. Gan fod tuedd yn amryw at ganiadau rhyddach nâ'r hen gynghaneddion Cymreig, carem weled ymgais at ryw lithrigrwydd, mewn corfan, odl, a mesur, yn lle hyny. Os yw y Pryddestwyr yn feddiannol ar glust Gymreig wrth eu bochgernau, gadawer iddynt ymarwrando ar ddisgyniadau aflafar llawer o ganiadau rhyddion, yna deallant briodoldeb yr hyn a ddywedwn. Yr ydym ni dros y farddoniaeth rywiocaf, grymus, ac effeithiol; ac hyd ag y gwyddom, yn ddiragfarn at bob dosparth o ganiadau. Gadawer i anian fod yn rheol, ac i Dad y gân gael y mawl.

Gwilym Ilid,<br>
Gorph. 26, 1856. Cynddelw.

## Y CYFANSODDIADAU RHYDDIEITHOL.

---

### GOGONIANT Y GREFYDD GRISTIONOGOL.

Daeth pymtheg cyfansoddiad i law ar y testun hwn. Wedi eu chwilio, cafwyd—1. Eu bod oll yn agos yn cerdded yr un tir, bob un yn ei ddull ei hun. 2. Fod rhai o honynt yn dra sectaraidd, ac fel pe byddai eu golygiadau hwy ei gogoniant penaf. 3. Cafwyd fod rhai yn dilyn awduron ereill yn helaeth iawn. 4. Eu bod bron oll wedi cymeryd trafferth fawr i ysgrifenu llawer er dangos crefyddau ereill, fel pe buasai hyny yn rhan o'r testun. 5. Cafwyd fod un awdwr wedi ysgrifenu dau o'r traethodau, un i fod y goreu, mae yn debyg, a'r llall i fod yn ail-oreu, a phawb ond efe i fyned adref heb un wobr—"Y cwbl i fi, a'r rhest i Shoni!" Ond y mae yn ddrwg genym iddo gam-ddeall galluoedd ei gydgystadleuwyr yn fawr. 6. Cymerodd *Cyfaill* y testun yn gosod allan wir grefydd dan bob goruchwyliaeth, ac nid gwir grefydd fel y sefydlwyd gan Grist a'i apostolion, am hyny, er fod ei draethawd yn orgampus, nid tegwch tuag at yr ysgrifenwyr ereill fyddai rhoddi un o'r gwobrau iddo ef, oblegid "Gogoniant y Grefydd Gristionogol" ydoedd y testun, ac nid gwir grefydd dan drefniadau ereill hefyd. 7. Cafwyd fod llawer o honynt wedi eu hysgrifenu yn gampus anarferol. Wrth farnu rhyngddynt, ni chymerwyd hyawdledd a thlysni iaith y reol benaf i fyned wrthi, nac ychwaith ehediadau darluniadol barddoniaeth mewn rhyddiaith; ond penderfynwyd cael allan yr un a gynwysai fwyaf o'r pethau a ddangosent "ogoniant y Grefydd Gristionogol," heb grwydro gormod oddiwrth y testun, wedi ei hysgrifenu, ar yr un pryd, yn eglur a phwrpasol, er dangos y cwbl i'r meddwl mewn modd llawn, grymus, argyhoeddiadol, a dyddorol. Wrth y drefn hon o farnu, *Epenetus* ydyw y goreu, a'r ail-oreu ydyw *Brysiog.*

### MASNACH DRAMOR, &c.

Daeth saith i law ar hyn:—*Gomer.* Math o grynodeb fer o syniadau ar y testun. Mae y pethau yn bwrpasol. Mae yr

ystofiad yn dda, pe buasai wedi ei wau yn well. Mae yn ysgrif dda iawn mor bell ag y mae yn myned. Geill yr awdwr ddyfod yn ysgrifenydd hyawdl a medrus trwy ddiwydrwydd.

*Aneurin.* Mae hwn wedi ysgrifenu yn dda rhagorol, ond oblegid byrdra, ac nid diffyg medr, nid yw wedi gwneyd â rhai syniadau gwerthfawr, ddim bron ond eu crybwyll, heb eu dwyn allan yn eu nerth. Trueni fod byrdra yn fai, ac yn lleihau gwerth traethawd, ac yn rhoddi mantais i'r cystadleuwyr. Mae meithder yn aml yn fai mawr, yn faich a phoen mawr i'r darllenydd, ac yn tywyllu, yn lle egluro, y rhan amlaf. Y mae *Aneurin* yn ysgrifenu yn rhagorol, ac y mae ynddo alluoedd i wneuthur yn well â'i destun nag y gwnaeth.

*Garnddyrysyn.* Rhydd hwn hanes masnach o'r oesau boreuaf yn mlaen hyd yn ddiweddar. Dengys y modd y cynyddodd, a'r modd yr oedd hyny yn cynyddu cyfoeth, yn peri adeiladau, cynyddu gwerth tiroedd, cynyddu rhif poblogaeth, yn rhoddi gwaith, yn dwyn cynaliaeth, ac yn effeithio ar y gwyddorau, ac ychwanegiad gwybodaeth. Nid yw yn ymddangos ei fod wedi tŷnu yr un cynllun wrth ddechreu a dosbarthu ei destun, ac, oblegid hyn, fe ddichon, y mae yn myned dros yr un pethau mewn gwahanol ffyrdd. Math o araeth ydyw, yr hon a ddylifa o'i feddwl yn ffrydiau gorlifol o eiriau grymus, a'r rhai hyny yn aml yn rhai dyeithr i'r cyffredin, ac yn terfynu mewn dull anarferol. Dengys wybodaeth a llafur mawr. Gallasai fod yn fyrach, a chynwys yn fwy eglur a grymus, yr un faint o faterion. Rhydd gymaint o ystadegau â'r chwech ereill ynghyd, ac yn fynych gâd rhwng y darllenydd â hwy, i dŷnu ei gasgliad oddiwrthynt am les masnach. Mewn rhoddi hanes masnach a'i chynydd, y mae hwn yn hynod gampus, a dengys, trwy hanesyddiaeth ac ystadegau, fanteision masnach i dref a gwlad. Y dull goreu i ymresymu ar fater yw yr un a sylfaenir ar egwyddorion anwadadwy, wedi eu rhesymu yn dda. Nis geill ystadegau fod, ar y goreu, ond yn ail i'r pwrpas, am na ellir ymddibynu bob amser eu bod yn berffaith.

*Un a gâr lwyddiant Brydain.* Rhagymadrodda yn naturiol trwy daflu golwg ar fasnach. Yna rhana ei destun yn—1. Natur a dylanwad masnach. 2. Y manteision a ddeilliant i wlad yn gyffredinol trwy fasnach dramor, trwy gael adnabyddiaeth o wledydd ereill, cynydd cyfleusderau a chysuron bywyd, ychwanegiad llafur, perffeithio pob dyfais, celfyddyd, a gwyddor, i beri ysbryd

anturiaethus, yn dwyn golud a chyfoeth, yn gwneyd y bobl yn fwy rhyddfrydig, cymdeithasgar, ac heddychol. 3. Ol-sylwadau ar niwed rhyfel i fasnach, y fantais o rydd-fasnach, gwerth a phwys ein meddiannau tramor, a'r manteision, trwy fasnach, i ddylanwadu er achub y byd. Cydmara hefyd fasnach dramor a chartrefol. Y mae mewn iaith dda, eglur, a phwrpasol, ac wedi ei ysgrifenu yn llithrig, ac felly yn hyfryd i'w ddarllen, ac yn draethawd godidog.

*Y Gwan.* Mae hwn ag arweiniad i mewn da; yna dengys les masnach trwy ei bod yn ychwanegu y trigolion yn ychwanegu gwybodaeth yn y gwyddorau a'r celfau, yn gwella ymagweddiad y bobl, yn cynyddu trysorau y wlad, yn effeithio ar grefydd y bobl. Wrth drafod y pethau hyn y mae yn hon bethau pwysig nad ydynt yn neillduol yn un o'r lleill, megys effeithiau masnach ar briodasau gwlad, a helaethrwydd gwir grefydd. Yn hon y mae dan un pen weithiau yr hyn a ddylasai fod dan ben arall. Mae gormod o eiriau Saesonaeg ynddi heb eu heisieu. Gallasai yr awdwr wneyd i'w eglurhad ar bob pen fod gystal ag ar y pen cyntaf, a dibenu ar bob dosran yn fwy grymus. Wedi rhoddi ei awgrymiadau ar un ddosran, ar y diwedd y mae fel â brys arno i redeg ymaith at y pen nesaf, fel un wedi diflasu ar y cyntaf. Dylai yr awdwr gofio rheol Cobbett iddo ei hun,—"I collect as many facts together as I can, and then hammer them down well." Yn yr "hammer down" y mae yr ysgrifenydd yma yn colli, ynghyd â diffyg grym i daro ergydion adref pan y byddo hyny yn ofynol. Mae yr ysgrif yn wir werthfawr.

*Corfynwr.* Dengys les masnach dramor trwy ei bod yn brif-elfen gwareiddiaeth y trigolion, yn agor drws i lafur a diwydrwydd, yn achosi diogelwch rhag newyn ac eisieu ar adegau neillduol o ffaeledd cynyrch cartrefol, yr amrywiaeth cysuron bywyd a fwynheir trwyddi, yn ategu nerth, ac yn ychwanegu urddas y cyfundeb gwladwriaethol, yn creu ysbryd anturiaethus, yn cyfoethogi gwlad, yn ychwanegu gwaith, yn brif gynhyrfydd bywyd tref a gwlad. Helaetha yr awdwr yn gryno, medrus, a chynwysfawr ar bob pen, mewn iaith anarferol o dda, ac y mae yn rhagori yn hyn ar y lleill. Hon ac eiddo *Un a gâr lwyddiant Brydain* yw y ddwy oreu mewn iaith a chwaeth coethedig—ond nid hyn ydyw y testun.

*Cobden.* Masnach yw y gair cyntaf yn yr ysgrif, a masnach a'i

manteision ydyw hyd y diwedd; ond y mae rhai o'r lleill gystal â hithau yn hyn. Dengys les masnach dramor trwy ddibyniad gwahanol barthau y ddaear y naill ar y llall, yn rhoddi pethau anghenrheidiol er ein cysur, yn darostwng prisoedd nwyfau gartref, yn ein dwyn i wybod dyfeisiau a darganfyddiadau gwledydd ereill, ac i ennyn cywreinrwydd a chelfyddgarwch trwy ein dwyn i gystadledd â dyeithriaid; yn helaethu gweithgarwch, cyfoeth, a gogoniant cenedlaethol, ac yn gwella a gwareiddio cymdeithas. Y mae hwn wedi bod yn pysgota yn yr un llynoedd â'r lleill, ond difyna ef ddarnau, a rhydd yr enwau wrthynt. Mae gormod o eiriau Saesoneg afreidiol rhwng cromfachau, rhai rhanau yn null mân-siarad cyfeillach sydd yn anurddo y traethawd. Arweinia i fewn at ei destun fel un â golwg ar y gwaith o'i flaen, a thraetha yn gampus ar y testun. Mae yn llawnach yn ei faterion, ac nid yn unig y mae yn darlunio, rhoddi siamplau ac ystadegau, ond hefyd ymresyma yn fanylach nâ'r un o'r lleill. Lleinw ei saith magnel yn dra chyfartal o bylor a bwledau, ac nid ag ergydion rhy fychain, fel y gwna rhai, nac â gormod o bylor a phapur, i wneyd swn mawr, ond digon o bob un, ac yna, fel Cobden, gollwng hwy allan yn fedrus ac effeithiol at y nôd mewn golwg i'w gyrhaedd, ac efe sydd deilwng o'r wobr flaenaf. Y lawnaf o brofiadau yn nesaf at hon, er dangos manteision masnach dramor, ydyw *Garnddyrysyn*, er fod yn y cyfansoddiad ormod o bylor a phapur, i'r dyben i wneuthur sŵn mawr.

### HANES Y FELINFOEL.

Un ddaeth i law; y mae hwn yn dda iawn, ond ychydig o wallau, a'r rhai hyny trwy esgeulusdod, megys "yn e*i* plith," yn lle "yn e*u* plith," "adeidad," yn lle "adeilad," &c. Y mae mewn ysgrifen-law ragorol, wedi ei hysgrifenu yn drefnus, llithrig, a medrus. Rhydd hanes helaeth o'r lle, ac eglwys y Bedyddwyr yno, a dengys gymeriadau y trigolion, a bod yno foneddigion dyngarol ac haelionus neillduol—y Nevills. Y mae *Cymdeithaswr* yn deilwng iawn o'r wobr.

### HANES PONTYBEREM.

Ni ddaeth ond un ysgrif ar hyn, ac y mae hôno wedi ei hysgrifenu yn dda; ond dengys fod y lle yn hynod o amddifad o

hynafiaethau, canys pethau diweddar mewn cydmariaeth a gynwys yr ysgrif, ac ni allant fod o fawr dyddordeb i neb ond trigolion yr ardal. Teilynga *Carwr Hiliogaeth* y wobr.

### HANES LLES AB COEL, &c.

Daeth dau i law. 1af. *Pwy yw hwn?* Y mae yr awdwr wedi ysgrifenu yn fedrus a champus; ond nid yw ef yn gwneyd ond sylw byr iawn ar Gyfrinfa Lles ab Coel, a hanes hon oedd amcan neillduol y testun. Mae yr ysgrif yn dda iawn, ac yn werth ei hargraffu. Yr ail, gan *Cyndeyrn*. Nid yw hwn mor hyawdl ysgrifenydd â *Pwy yw hwn;* ond y mae wedi ysgrifenu yn dda, ac yn llawnach ar bob rhan o'r testun, heb ysgoi un ran, ac y mae wedi ysgrifenu yn fwy pwrpasol ar y rhan olaf o'r testun. Eiddo *Cyndeyrn* yw y wobr.

### HANES YR IFORIAID.

Daeth pedwar cyfansoddiad i law ar hyn:—Un gan *Gomer*. Yn hwn mae y brawddegau yn aml yn rhedeg i'w gilydd, o eisieu atal-nodau, fel mae yn rhaid i'r darllenydd wneyd hyny o ddiffyg i fynu cyn cael allan feddwl yr awdwr. Nid un o Geredigion oedd Ioan Tegid, ond o Sir Feirionydd, ac yn byw yn ei flynyddoedd olaf yn Sir Benfro. Llythyrenau gwedi eu gadael allan, neu eu cam-osod, &c. Er fod yr ysgrifenydd yn alluog i gyfansoddi ac ysgrifenu yn dda, etto, y mae gwedi bod yma mor ddiofal ac esgeulus, â phe na byddai am gael y wobr.

*Iforydd o waed coch cyfan* ydyw y nesaf. Yn hwn cawn "symudwyd hwy *eich* dau, y cynlluniwr y cyfundeb, rhif y cyfrinfaoedd yr undeb," &c. Gwel pob un y gwallau hyn heb eu dangos. Mae hanesion o bwys yn hwn nad ydynt yn eiddo *Gomer*, ond nid ydynt wedi eu gosod ynghyd gystal. Un o'r pethau mwyaf anghenrheidiol, ac sydd yn harddu cyfansoddiad yw, dewisiad o eiriau pwrpasol, a gadael heibio rhai anmherthynasol. Hanes Iforiaeth ydyw y testun, ac nid natur y sefydliad, a chanmoliaeth iddo, yr hyn yw darn mawr o'r ysgrif hon, ac y mae yn un dda iawn yn ei ffordd.

*Caracticus* ydyw un arall. Yn hon cawn "a phendiad hon," yn lle "a phenodiad hon," "y naill tuag at," dylasai y gair 'llall fod i lawr. Gan mai hanes ydyw y testun, un o'r pethau a ddy-

lasid ofalu am dano yn neillduol yw yr amser *(date)* y cymerodd y naill beth a'r llall le, yr hyn sydd yn fwy diffygiol yn hon nâ'r tair arall. Nid trafod egwyddorion drwg, tymherau ac ysbryd cas ereill, ydyw y testun. Pe buasid yn ymofyn am hanes yr ymrafaelion, a'r teimladau gynhyrfwyd yn nglŷn â hyny, yn mhlith yr Iforiaid, buasai yr ysgrif hon yn fuddugoliaethus. Mae yr ysgrif yn fwy o adlewyrchiad neu fath o adolygiaeth ar Iforiaeth, nag o hanes. Wedi y cwbl, y mae ynddi lawer iawn o bethau gwir werthfawr.

*Dyfrig* ydyw y llall. Ceir yn hon amryw wallau trwy ddiofalwch. Wedi ychydig sylwadau arweinyddol, disgyna ar y testun, a gwna i'w ysgrif drwyddi oll, braidd, i ddangos rhywbeth o hanes Iforiaeth, o'i dechreuad hyd yr amser presenol.

Mae y pedair ysgrif yn dangos gwybodaeth a llafur helaeth, a dylai fod yn achos o lawenydd i Iforiaid weled fod Iforiaeth yn achos i ddwyn allan y fath dalentau, a chynyrchu y fath ddarnau. Pe rhoddid y pedwar i ryw un medrus, gallai wneuthur un traethawd rhagorol ar y testun. Mor dda ydynt, fel pe buasai rhyw un o honynt yr unig ymgeisydd, buasai yn deilwng iawn o'r wobr. Ond gan mai cystadliad ydyw, ein barn yw, wrth gyferbynu y naill beth a'r llall, mai *Dyfrig* sydd fwyaf teilwng o'r wobr.

### CADWEDIGAETH A MEITHRINIAD Y GYMRAEG.

Ni ddaeth ond un ysgrif i law ar hyn, gan *Iforydd ieuanc o Holcwm.* Byddai dda iddo ef feithrin yr iaith, trwy ymdrechu ei gwybod a'i hysgrifenu yn gywirach. Mae yn yr ysgrif lawer iawn o wallau gramadegol, ac y mae rhai, o leiaf, o'r siamplau yn anghywir. Prin y mae yn deilwng o'r wobr. Gan fod y wobr mor fach, mae yn debyg mai i rai ieuainc y bwriadid hi, i'w hanog i arfer eu dawn, am hyny bydded y wobr i *Ifor;* ac os yw ieuanc, fe eill ddyfod yn ysgrifenydd campus trwy ymdrechu.

### ATHRONIAETH DEDWYDDWCH—CYFIEITHIAD.

Nid gwaith hawdd ydyw gwneuthur geiriadur da, oblegid rhaid gwybod, nid yn unig ystyr wreiddiol geiriau, ond yr ystyr yn yr hon yr arferir hwynt. Felly hefyd, nid peth rhy hawdd ydyw gwneuthur cyfieithiad da heb fod yn gyfarwydd iawn yn y ddwy iaith o ystyr wreiddiol y geiriau, a'r arferiad wneir o honynt yn

y naill iaith a'r llall. Y cyfieithiad gwaelaf o draethawd ydyw cyfieithiad llythyrenol, a'r cyfieithiad goreu ydyw yr un a roddo feddwl, dull, ysbryd, teimlad, ac amcan yr awdwr, mewn modd eglur a tharawiadol, fel y byddo y cyfieithiad yn trosglwyddo yr un fath syniadau i'r meddwl, ac yn cynhyrfu yr un fath deimladau a dyddordeb wrth ei ddarllen ag a wna yn yr iaith y cyfansoddwyd ef. Daeth pedair ysgrif i law ar y testun hwn; ac wrth farnu yn ol y reol uchod, *Philomath* ydyw y goreu. Y mae hwn yn gyfieithiad da, er nad yw drwyddo mor rymus a tharawiadol â'r hwn a ddaeth o dan law y Parch. D. Thomas ei hun. Y mae dau o'r lleill yn cynyg yn bur dda, yn neillduol *Margaret.* Geill pob un o honynt ddyfod yn gyfieithwyr rhagorol trwy ymdrechu, a bod ychydig yn fwy gofalus.

Caerfyrddin, Gorph. 27, 1856. HUGH JONES.

### ON THE PROGRESS OF THE ARTS AND SCIENCES.

On this subject there are five competitors, who appear respectively under the names of *A Lad in his Teens*, *Cymro Ieuangc*, *Gwyneddon*, *Llanellian*, and *Qui cupiet metuet quoque*; four of these have written in a popular style, evincing great industry in the collection of materials, and possessing a high degree of merit. The fifth, who signs himself *Qui cupiet, &c.*, has written more *philosophically* than the others, and his essay possesses merit peculiar to itself, but as it embraces fewer topics than some of them, the scholastic author must not feel disappointed at the award. Of the other four essays, each contains portions superior to the rest; this remark applies particularly to the composition of *Llanellian.*

Looking, however, at each essay as a whole, that of *Gwyneddon* decidedly deserves the palm. It is in some branches defective, but it is, nevertheless, the most comprehensive of the five, being written in a lively and lucid style, and keeping as closely as possible to the results of the *present century* in the History of the Arts and Sciences. D. JAMES, *Marsden.*

### DIWYLLIAD Y MEDDWL DYNOL.

Nine Papers. I have read most of these papers with considerable pleasure; several of them are evidently the productions of

working men, and contain many indications of sound thought and practical wisdom; some of them, however, are very imperfect both as regards spelling and arrangement, the most wild and crude notions being heaped together without any relation to time or place.

It is *not* very difficult to fix upon the best amongst these papers. That which bears the name of *Llywarch Ieuanc* must win the prize. This author possesses good mental abilities, and is acquainted with some of the best works on the Philosophy of the Mind. He writes with much freedom, but is not always fortunate in the choice of his words nor in the formation of his sentences. The latter part of his paper has been too hastily written, and consequently some serious errors in orthography occur. It is quite evident, however, that inadvertence, and *not* ignorance, is the cause of them.

The next in merit is that written by *Descartes*, who is vigorous in thought and clear in expression, and had there been a *second Prize* I should have awarded it to him.

D. Lloyd.

#### DYLEDSWYDD Y BOBL WEITHGAR I YMESTYN AT WYBODAETH.

There are ten compositions upon the above subject, *eight* of which are very creditable to their authors, and prove them well qualified to handle the matter. An earnest and enlightened spirit pervades these essays, and their whole tone is such as to warrant the conclusion that the writers of them are deeply sensible of the importance of education to the working classes. Here again, I feel much difficulty in adjudicating the prize, owing to the merits of the compositions being so nearly equal. Those bearing the fictitious names of *Astudiwr*, *Iolo*, *Amen*, *Columbus*, *Jethro*, *Un o'r Cymry*, *Hunan-ddysgol*, are compositions of great merit, and each of them is worthy of the Prize.

I feel, however, compelled to pronounce, after mature consideration, that written by *Gwyddon Ganebon* as the most worthy of the prize.

D. Lloyd.

MANTEISION DIWYDRWYDD A GWYBODAETH I'R BOBL WEITHGAR.

Nine Treatises—five in Welsh and four in English, the English evidently composed by uneducated men. Marks of sound common sense are found in them, and the thoughts generally are well conceived, but very imperfectly expressed,—too inferior, upon the whole, to deserve a prize.

Five Welsh.—These Essays, being strictly confined to the working classes, are, upon the whole, creditable to them. The best is that of *Wyf yn weithiwr fy hun.*

His method of treating the subject is better, and his reasoning more logical; some of his observations are very good.

D. Lloyd.

HANES PLWYF LLANDILO-TALYBONT, MORGANWG.

All these compositions are of an inferior character, and appear to have been written by parties who have had no advantages, as regards education, beyond what they may have acquired by their own industry. They are all more or less deficient in orthography, and violations of the simplest rules of grammar occur in almost every sentence. They, however, display considerable mental power, which goes far to prove that these defects result from want of education, rather than from want of talent or abilities in the authors.

The composition of *Hanesydd*, all things considered, is undoubtedly the *best*, but I do not consider it good euough to entitle him to the prize of £3 3*s.* and also to the "Tlws" of £1 1s. My advice is to give him the "Tlws" value One Guinea, and reserve the prize for future competition.

D. Lloyd.

---

BEIRNIADAETH Y TRAETHODAU AR RESYMEG.

Drwg genym hysbysu, i ni yn ddygwyddiadol, yn nghanol ein gofalon mawrion ar ddydd yr Eisteddfod, golli sylwadau Dr. Lloyd ar y Traethodau ar Resymeg. Danfonasom ato i ofyn a allasai roddi copi arall o'i sylwadau, ond ei ateb oedd, nad oedd ganddo ddim o'r nodiadau ar gael. Yn ol yr hyn a glywsom o'r feirn-

iadaeth o enau Dr. Lloyd ar ddydd yr Eisteddfod, yr oedd yr holl draethodau tuhwnt i'w ddysgwyliad o lawer, a rhai o honynt mor dda, fel na fyddai cywilydd ganddo eu gweled yn gyhoeddedig yn mhrif gyhoeddiadau Lloegr. Dosbarthai hwynt i dri dosbarth:—yn y cyntaf yr oedd Idwal a Gwyneddon; yn yr ail Iestyn, Efrydydd, a Baldwyn; yn y trydydd Adolphos a Pelor; ac yn y pedwerydd rhesai Philemon, yr hwn oedd yr unig draethawd gwael yn y gystadleuaeth. Barnai mai Idwal oedd y buddugol. Gan obeithio yr esgusodir ni gan y cystadleuwyr,

Y gorphwys yr eiddynt yn gywir,

W. George, } *Ysgrifenyddion.*
D. Bowen, }

HISTORY OF LLANELLY.

The two prize essays on the History of Llanelly submitted to us, the undersigned, for adjudication, the one in English and the other in Welsh, bearing respectively the assumed names of *Tacitus* and *Brodor*, we have carefully perused; and we have much pleasure in saying that they are both respectable productions, and display considerable industry and research. But without expatiating on their merits or descanting on their defects, we are constrained to recommend that the proposed prize of five pounds be equally divided between the said writers, *Tacitus* and *Brodor*.

J. Jones, *Vicar of Pembrey.*
D. E. Williams, *Incumbent of St. Paul's, Llanelly.*

# DANGOSEG.



THOMAS, ARGRAFFYDD, LLANELLI.